# HOLWYDDOREG

YR

# YMNEILLDUWYR

## PROTESTANAIDD;

YN CYNWYS

## HANES BYR AM YR YMNEILLDUWYR,

A

***RHESYMAU DROS YMNEILLDUO O'R EGLWYS SEFYDLEDIG.***

GAN Y PARCH. S. PALMER.

WEDI EI HELAETHU FEL AG I GYNWYS Y CYFNEWIDIADAU DIWEDDAF A GYMERASANT LE YN IAWNDERAU YR YMNEILLDUWYR,

GAN O. OWENS, RHES-Y-CAE.

Sefwch gan hyny yn y rhyddid â'r hon y rhyddhaodd Crist ni; ac na ddalier chwi drachefn dan iau caethiwed.—PAUL.

BALA:

ARGRAFFWYD DROS Y CYHOEDDWR, GAN G. JONES.

1851.

# ANERCHIAD

Y

# CYHOEDDYDD AT Y DARLLENYDDION.

———o———

ANWYL GYD-DEITHWYR I DRAGYWYDDOLDEB:—

MAE yn amlwg fod barn gywir am natur teyrnas Crist o ddirfawr bwys i bob dyn ei feddu yn ei sefyllfa bersonol, a chymdeithasol. "Eglwys Crist sydd gymdeithas, gynwysedig o bawb sydd yn proffesu credu ynddo ef fel Dysgawdwr wedi ei anfon gan Dduw, ac yn ffurfio eu haddoliad au hymddygiad yn ol yr hyn a farnant iddo ef ei sefydlu." (Doddridge's Lectures.—Lec. 195.) Dangos mai felly y mae ei chyfansoddiad rhesymol ac ysgrythyrol a amcenir yn y tu dalenau canlynol.

Nid oes nemawr o ddynion ag y mae achos Annghydffurfiaeth dan fwy o rwymau iddynt na'r awdwr, sef y diweddar barchedig Samuel Palmer o *Hackney*, yr hwn a gyhoeddodd lawer argraffiad o hono yn ei oes ei hun; hyd y flwyddyn 1779. Wedi hyny cafodd *ugain* argraffiad o leiaf o hono ei gyhoeddi gan y diweddar barchedig William Newman, D. D. o *Stepney*, Llundain, gyda rhagymadrodd ac attodiad, o ba rai y gwneir defnydd yn y cyfieithiad hwn o'r gwaith.

Ystyrir yr Holwyddoreg hon fel y crynodeb goreu o egwyddorion Annghydffurfiaeth o ran ei eglurder, a'i gynwysiad. Ond nid oes yr un argraffiad o hono yn cynwys sefyllfa bresenol Annghydffurfiaeth, yr hyn sydd o'r pwys mwyaf; canys wedi yr adeg y terfyna

yr Holwyddoreg y rhyddhawyd hi o'i llyffetheiriau, y teimlodd ei nherth, ac y gwnaeth y grymusder mwyaf, megys un yn deffroi o gwsg. Er gwneyd y diffyg hwn i fynu, dywed y Cyhoeddydd yn ostyngedig, iddo ymchwilio i bob gwaith ar y pwnc oedd o fewn ei gyrhaedd; ac wrth drin deddfau y Cofrestriadau a'r Priodi, iddo ddilyn y cyfarwyddiadau argraffedig a anfonwyd iddo fel gweinidog yr efengyl o swyddfa'r llywodraeth, fel y galler dybynu ar yr hyn a ddywedir am danynt fel hyfforddiad cywir, yn ol fel y mae y cyfreithiau yn bresenol, yn eu perthynas a iawnderau yr Ymneillduwyr.

Mae dirfawr angenrheidrwydd yn y dyddiau hyn i ddysgu pawb, yn enwedig ieuenctyd, yn natur rhyddid yr efengyl ac ysprydolrwydd teyrnas Crist, yn ol arfer ganmoladwy yr hên Annghydffurfwyr, mewn amseroedd enbyd a thywyll, fel y gwreiddier hwynt yn eu meddyliau, ac na'u dener oddiwrth symlrwydd efengylaidd at ffurfiau oferwag o ddynol-osodiad.

Ni byddai chwaith yn anmhriodol i'r cyfryw sydd yn ymdrechu dallu llygaid y werin er ceisio eu dwyn at y fath bethau, ei darllen hefyd, fel na byddont yn euog o gamddarlunio Annghydffurfiaeth wrth ddywedyd yn ei herbyn, a thrwy hyny yn dangos eu hanwybodaeth, neu rywbeth gwaeth na hyny. Pe y gallent orchfygu y gwron, (yr hyn nis gwnaeth eu tadau pan oedd eu byddinoedd yn fwy) byddai hyny yn fwy o achos ymffrost iddynt na gollwng eu saethau pwdr at eu heulun dychymygol eu hunain.

Gyda hyder y bydd y llyfr yn fuddiol i bob rhyddymofynydd, yn gyfnerthiad i bob Cristion, ac yn amlygiad cywir o egwyddorion yr Eglwys Sefydledig a'r Annghydffurfwyr, fel y caffo y cyhoedd fwy o fantais i farnu drostynt eu hunain, ac i ddewis eu pobl, yw difrifol ddymuniad y Cyhoeddydd.

OWEN OWENS.

*Rhesycae, Swydd Flint, Hydref* 31, 1850.

# RHAGDRAETHAWD.

PRIF egwyddorion Annghydffurfiaeth, ydynt uchafiaeth Crist—Ysprydolrwydd ei deyrnas—Digonolrwydd yr Ysgrythyrau—Yr hawl o farn bersonol—A'r hawl o broffes ac addoliad cyhoeddus. Yr oedd yr egwyddorion hyn mewn cyflawn weithrediad, er cael eu gwrthsefyll yn danbaid yn ystod y tri chanrif cyntaf o'r cyfnod Cristionogol, a chyn bod unrhyw Eglwys Wladol yn bodoli.

Os bu rhai mewn oesau dilynol yn cymeryd arnynt fod yn ddoeth uwchlaw yr hyn a ysgrifenwyd, y rhai gan fyned i gyngrair ansanctaidd a'r awdurdod wladol, a estynasant eu braich eiddil i gynorthwyo Hollalluogrwydd, a chan broffesu cymeryd y Deddfwr Cristionogol a'i holl gyfreithiau dan eu nodded, yr ydym yn galaru o herwydd y gwrthgiliad mawr hwn. Nid ydym, er hyny, yn ymrwystro, gan ei fod wedi cael ei ragddywedyd. Od oes yn awr yma, neu yn rhyw le arall y cyfryw a ymdrafferthant i orliwio y diemwnt, ac a oleuant ganwyllau cwyr i gynorthwyo yr haul ar ganol dydd: y rhai a orlwythant y sefydliad Cristionogol ac amrywiaeth dirfawr o swyddau a swyddogion na adnabyddid mo'u henwau yn yr oes Apostolaidd, yna dywedwn, *cyfrifer hwynt y sectariaid—y pen-boethiaid, &c.*, tra y byddom ni yn ymgeisio am yr anrhydedd o ymlynu wrth yr hen eglwys wreiddiol, sef "Y Jerusalem hono uchod, yr hon yw ein mam ni oll." Gal. 4. 26.

Dichon fod rhifedi yr Ymneillduwyr yn y deyrnas hon wedi ei fwyhau yn ormodol gan gyfeillion yn gystal a gelynion. Dywed *Voltaire*, yn 1728, "Nid oes mor ugeinfed ran o'r genedl allan o'r Eglwys Sefydledig." Yn 1778, *Robinson* a ddywed, "Mae yn Lloegr a

Chymru tua 1,400 o gynulleidfaoedd, &c., y cyfan, o'r hyn lleiaf, yn bumed ran o'r genedl." *Esgob Horsley*, yn 1772, a ddywed, "rhifedi y gweinidogion Ymneillduedig yn yr holl deyrnas y pryd hyn oedd tua 2,000." Yn 1790, *Charles Fox* a haerodd yn Nhŷ y Cyffredin, "Y gallai Lloegr gyfrif *naw* o bersonau o'r Eglwys am *un* Ymneillduwr." Yn 1812, Meistri, wedi hyny Doctoriaid *Bogue* a *Bennett*, a roddasant i ni restr o 2,002 o gynulleidfaodd yn Lloegr a Chymru. Y maent yn tybied fod eu rhifedi wedi *dyblu* mewn triugain a deg o flynyddau, sef o'r adferiad hyd ddechreuad Trefnyddiaeth.

Mae cyfrifiad diweddaf yr Ymneillduwyr yn ol y gofres fanylaf a ellir ei chael, yn cynwys Lloegr a Chymru fel y canlyn:—Addoldai 13,099, heblaw mwy na 5,022 o ystafelloedd ardrethol, &c., gan Genadaethau cartrefol, lle y mae pregethu ynddynt ddwy waith bob wythnos o leiaf: yr hyn a wna 18,121, yn y cyfan. Mae gan y Pabyddion yn Lloegr 534 o addoldai, ac 11 yn Nghymru, sef 545, yn y cyfan; gan eu bod yn cynal eu crefydd drwy roddion gwirfoddol, maent yn Ymneillduwyr ar y cyfrif hwnw yn y deyrnas hon. Os tynir o'r 18,121 y 545 o addoldai Pabaidd, bydd y gweddill yn 17,576 o addoldai perthynol i'r Ymneillduwyr Protestanaidd. Crynodeb rifedi yr Ymneillduwyr yn Nghymru sydd fel y canlyn:—Addoldai 2,359, cymunwyr 166,606, gwrandawyr 391,000, gweinidogion a phregethwyr 1896. Mae yr addoldai drwy'r deyrnas wedi chwanegu 1245 yn y 30 mlynedd diweddaf, yr hyn a wna 41½ yn flynyddol.* Mae yn ddilys fod y cyfrif uchod yn

* Wedi ysgrifenu y cyfrif uchod, daeth y *Christian Witness* am Gorphenaf, 1850, i'm llaw, (gwel tu dalen 323), yn mha un y mae "Addoldai yr Ymneillduwyr yn Lloegr yn 10,423; yn Nghymru yn 2,317; y cyfan yn 12,740. Holl Addoldai yr Eglwys Sefydledig yw 13,154, yr hyn sydd 414 yn fwy nag eiddo yr Ymneillduwyr, heb gyfrif yr ystafelloedd. Ychydig gallineb a barai i'r Eglwyswyr fod yn ddistaw am eu mwyafrif, gwyddis eu bod y lleiaf o lawer yn yr Iwerddon a'r Alban; ac yn debyg o fod felly yn Lloegr yn fuan."

"Yr Annybynwyr—mae'r corff hwn i gael ei barchu yn fawr o herwydd ei nifer, eithr yn llawer teilyngach i fod mewn parch bythol am y gwroldeb diysgog gyda pha un y darfu iddynt, ar bob amserau, amddiffyn eu hymlyniad wrth ryddid gwladol a chrefyddol, a glynu yn ddyfal wrth eu hegwyddorion,—gan ddwyn i'r graddau uchaf yr athrawiaeth fawr o oddefiad hollol; dynion ag

fwy cywir nac eiddo'r cyd-ffurfwyr, yn ol y dull y gwneir ef yn gyffredin: er y dichon fod anmherffeithrwydd ynddo wedi pob ymchwiliad galluadwy, ond y ffaith yw, fe gynyddodd nifer addoldai a chynulleidfaoedd yr Ymneillduwyr, y maent yn cynyddu, a hwy a gynyddant. Dichon y dywed rhai, "paham yr aflonyddir y cydfod a fodola yn awr rhwng Eglwyswyr ac Ymneillduwyr?" I hyn yr attebir, "mai awdurdod y gwirionedd yw yr uchaf a'r penaf; ac mai y swydd fwyaf caredig, a chyfeillgar a allwn ei gwneuthur i neb o'n cymydogion yw gosod ger bron eu llygaid wirionedd Crist, o herwydd fel yr arferai y diweddar barchedig *Thomas Scott* ddywedyd, "gwirionedd yw yr unig had o'r hwn y tŷf gwir sancteiddrwydd neu ddedwyddwch." Gan fod ein cymundeb yn cael ei benodi yn awr, neu o'r hyn lleiaf dylai fod, i'r pethau hyny yr ydym yn cydsynio yn gydwybodol a hwynt, pa agosaf y byddwn i'r gwirionedd, nesaf y byddwn i'n gilydd, a melusaf a fydd ein hundeb.

Mae yn deilwng o sylw fod saith o ddeddfau gorthrymus yn erbyn yr Ymneillduwyr wedi eu gwneyd yn y deyrnas hon er y flwyddyn 1661, heblaw cynygiad Arglwydd *Sidmouth* yn 1811, y rhai y gweithredwyd yn ei hôl yn aml gyda dichellion creulon, er eu drygu a cheisio eu llethu. Drwy diriondeb rhagluniaeth y nefoedd, y maent wedi eu diddymu, ac Ymneillduaeth yn ei nherth eto. Mae cynrychiolwyr penodedig o honynt yn cyflwyno *anerchiad* i'r Teyrn pan fyddo yn esgyn gyntaf i'r orsedd, i'r hon yn wastad y dychwelir *atebiad* parchus, gyda thystiolaeth o barhad eu breintiau. Y brenin *Siarls* II a dystiai wrth y Dr. Owen ei fod dros ryddid cydwybod, ac yn

y gwna y wlad hon byth gydnabod eu dirfawr ddyled o ddyolchgarwch i'w hynafiaid, tra y byddo rhyddid yn cael ei werthfawrogi yn ein plith, canys hwy, yr wyf yn cyffesu hyny yn ddiofn, hwy, er unrhyw wawd a ddichon rhai ei fwrw ar eu hegniadau, neu fai a ddichon eraill; hwy, gyda brwdfrydedd merthyron, purdeb y Cristionogion boreuol, medrusrwydd a gwroldeb y rhyfelwyr enwocaf, a gawsant i Loegr y cyfansoddiad rhydd y mae hi yn ei fwynâu yn awr."—Lord Brougham's remarks, in a pamphlet, entitled "*Congregational Independency as old as the Apostles*;" by Robert Best, p. 34. Jackson & Walford, London. price 3d.—1850.

deimladwyr o'r cam a wnaed a'r Ymneillduwyr, gan roddi iddo *fil* o *ginis* i'w rhanu rhwng y rhai a ddyoddefasai fwyaf. Y rhai a dderbyniodd y Doctor yn ddyolchgar, ac a ddefnyddiodd yn ffyddlon. Darfu *Sior* II, yn 1729, atal yr erlyniad cyfreithiol a ddechreuwyd yn erbyn y *Dr. Doddridge*, am ei fod yn Athraw Coleg Ymneillduol yn *Northampton*, yr hyn, heb hyny fuasai yn ei ddynystrio. Awn heibio i lawer engraifft o garedigrwydd breiniol at eiddo ein Grasusaf Frenhines *Victoria*, yr hon yn 1850, a wnaeth anrheg o *ddau cant a phedwar ugain gini* i'r Ysgol-weithiol i blant amddifaid *Haverstock-Hill*, gerllaw Llundain, yn ei 92 gylchwyl flynyddol, gan enwi mab i weinidog Ymneillduol o Gernyw i gyfranogi o freintiau yr ysgol. Gwel yr "*Evangelical Magazine*" am Gorphenaf, tu dalen 372, ac am Medi.

Dylai yr amrywiol enwau o Ymneillduwyr ymdrechu deall eu hegwyddorion yn gywir, er bod yn gyfiawn at eu gilydd, a goddef y naill y llall yn yspryd yr efengyl, yn yr hyn y mae gwahaniaeth rhyngddynt, canys y mae unffurfiaeth barn am grefydd, megys pethau eraill, yn beth nas gall meddyliau rhydd-ymchwiliol ei gyraedd yn y byd anmherffaith hwn, ac nid yw chwaith yn hanfodol er iachawdwriaeth. Mae Eglwys Loegr, fel y gŵyr y cyffredin, yn rhy debyg "i dŷ wedi ymranu yn ei erbyn ei hun," i allu beio yr Ymneillduwyr am eu hymraniadau, heb briodoli iddi y ddiareb "y meddyg iachâ dy hun," neu, "bwrw allan yn gyntaf y trawst o'th lygad dy hun." Canfyddir hyn yn y ddadl a fu yn y Fibl Gymdeithas; a'r un a fu rhwng Esgob *Lincoln* a'r parchedig *T. Scott* yn nghylch Calfiniaeth: dadl *Peterborough* gan Esgob *Marsh*, a'i bedwar ugain a saith o ofyniadau: a dadl yr adenedigaeth fedyddiol a fu gynt rhwng y Dr. *Mant* a'i wrthwynebwyr, ac eto rhwng Esgob *Exeter* a'i wrthwynebwyr yntau, oll yn llawn o arwyddion rhwygiadau, canlyniadau y rhai a ddengys amser.

Mae yr Ymneillduwyr yn llawenhau am fod y

myfyrwyr yn y Prif-ysgolion yn cael eu holi ar brydiau mewn gweithiau awdwyr Ymneillduol, yn nghyd a rhai o eiddo yr Eglwyswyr: ac hefyd am fod dynion dysgedig a duwiol yn y weinidogaeth ac yn nghymundeb yr Eglwys Sefydledig. Nid teg yw beio yr holl Eglwyswyr, na'r holl Ymneillduwyr am feiau *rhai* yn eu mysg, beth bynag a fyddo eu sefyllfa; canys y mae bywyd drygionus y rhai a fynant gael eu galw yn Gristionogion yn destyn gofid i bob dyn duwiol. Er hyny ein barn sefydlog yw, fod y cyfansoddiad Ymneillduol a gwirfoddol o broffesu, a chynal crefydd, yn rhesymol, ac ysgrythyrol; ac o herwydd hyny, yn tra ragori ar yr un gwladol a gorfodol. Cofied pob Ymneillduwr mai *moddion gras*, ac nid duwioldeb ydyw Ymneillduaeth a'i manteision ysprydol; fel y byddo yn llafurus am fod yn meddu *gwir ras a gwybodaeth*, ac yn cynyddu ynddynt, canys y mae Ymneillduwr diras ac anwybodus yn fwy anhywaith nag Eglwyswr a fyddo felly, o herwydd fod ei gyfundraeth yn fwy ysprydol, ac ynddi lai o le i ddeniadau bydol. Mae arwyddion yr amserau, debygid, yn dangos yn amlwg mai dysgyblaeth eglwysig gynulleidfaol sydd o ddwyfol osodiad, ac yn cydweddu oreu ag ansawdd y meddwl, ac a natur cymdeithas; felly yr egwyddor wirfoddol i gynal crefydd a'i lledu: gan hyny, ymdreched y rhai sydd yn proffesu hyny, ar iddynt fod yn iawn ddeall eu hegwyddorion, gan weithredu yn gyson a hwynt, fel na byddont yn euog o beri i ddaioni gael ei gablu o herwydd eu drwg hwynt. Ni a obeithiwn, er dywedyd fel hyn, y bydd iddynt yn unol a'u proffes barhau i ofni Duw, ac anrhydeddu y Frenines, gan wasanaethu eu cenedlaeth yn ol ewyllys Duw, ac felly drwy eglurhad y gwirionedd i ganmol eu hunain wrth bob cydwybod dynion yn ngolwg Duw. Yr ymarweddiad hwn o eiddo yr Annghydffurfwyr a enillodd iddynt garedigrwydd teulu urddasol Brunwick, gan beri i'r cyfryw ddeall eu gwerth yn y wladwriaeth, ac y maent hwythau yn deall gwerth y

cyfryw deulu urddasol. Ni fedd ei Mawrhydi *Victoria* yn ei holl lywodraeth, gorff o ddeiliaid mwy glynedig wrth ei pherson a'i gorsedd, a thuedd gwresocach i barchu ei chyfreithiau na'r Ymneillduwyr Protestanaidd. Nid yw yr Holwyddoreg hon yn cael ei bwriadu i ddysgu egwyddorion *athrawiaethol* crefydd; eithr yn grynodeb o hanes prif bethau eu llafur a'u dyoddefiadau, yn nghyd a'u hegwyddorion fel Ymneillduwyr oddiwrth Eglwys Loegr, yr hyn sydd o bwys i bawb eu gwybod. Fe hyderir mai i'r perwyl hwnw y defnyddir ef, ac y dysg ieuenctyd ac eraill egwyddorion athrawiaethol o lyfrau priodol at hyny. Mae holwyddoregau felly yn fuddiol fel crynodeb neu gasgliad o'r egwyddorion ydynt wasgaredig yn y Bibl i'w dwyn at ddeall y rhai anwybodus, mewn trefn dduwinyddol, fel y byddo y naill gangen o athrawiaeth yn fanteisiol i arwain i'r llall. Dichon fod llai o arfer y rhai hyn mewn manau yn awr nag a fu, a hyny, fe allai, o herwydd eu bod yn cael eu gosod fel CYFFES O FFYDD, GAN ORUWCH AWDURDOD, yn enwedig, gan Eglwys Loegr. Ond nid yw y cam-arferiad o'r ffurf hon o ddysgu yn ddigonol i beri i beth mor fuddiol gael ei droi heibio yn llwyr, canys yn ol hyny, byddai y cyfan o bethau crefydd, ïe, pob peth llesiol arall, i'w wrthod oblegyd iddynt gael eu cam-arfer gan ryw rai.

Pan ymddangosodd y llyfr bychan hwn gyntaf, darfu i Esgob *Horsley* ei alw yn "llyfr nad yw yn cynwys un egwyddor o'r grefydd Gristionogol, nac un arall dan yr haul, a sibrwd ei fod yn tueddu i ddwyn meddyliau ieuenctyd i yspryd terfysg a gwrthryfel." Dywedodd wedi hyny "Ei fod yn Llyfr isel yn ei bris, gwerthfawr yn ei sylwedd, ac yn haeddu ei drysori yn y cof, gan bawb a ewyllysiant fod yn gwbl hysbys o egwyddorion Annghydffurfiaeth." Cafodd yr anrhydedd o gael ei warthruddo gan y doniol Edmund Burke, yn ei araeth yn erbyn diddymiad y Brawfddeddf yn 1790, gan ei alw yn "Holwyddoreg o ddyngasedd, terfysg, ac annhrefn;" a chan rai

eraill o'r un syniadau; eithr atebwyd y cyfryw enllibiau gan yr awdwr ac eraill. Nid yw hyn i'w ryfeddu, canys ar y prenau uchaf o'r goedwig y chwyth y gwynt gryfaf.

Credir yn ddiysgog fod ei brif-egwyddorion yn seiliedig ar Air Duw, yn hanfodol i burdeb a llwyddiant Eglwysi Crist, ac yn tueddu i ddwyn bendithion gwerthfawr iawn i ddyn, a hwy a fyddant cyn hir yn dylanwadu yn briodol ar bob rhan o'r byd.

Bydded bendith ddwyfol yn dilyn pob cynygiad gostyngedig a wneir i ddysgu pawb, yn enwedig y genedl ieuanc yn yr egwyddorion hyny a'u tywys i roddi yr ufudd-dod dyledus i'r hwn sydd yn Arglwydd pawb oll: ac yna caiff Cæsar yr eiddo yntau.

## ENGLYNION I'R HOLWYDDOREG.

---

WELE lyfr oleua wlad—gan Owen
Gwiw newydd gyfieithiad;
A chain agwedd *chwanegiad*,
Da lais yw i dy leshad.

Er tân pur eto'n para—a mawr bwys
Mae'r berth heb ei difa,
Llaw ei Nêr llywio wna,
A'i dda gail ddyogela.

IOAN TACHWEDD.

# HOLWYDDOREG

YR

# YMNEILLDUWYR PROTESTANAIDD.

---

*Y RHAN GYNTAF.*

---

## HANES BYR AM YR ANNGHYDFFURFWYR.

---

GOFYNIAD 1. Pa sawl *Crefydd* sydd yn y Byd?

ATEB. Pedair; y Baganaidd, (neu Genhedlig) yr Iuddewaidd, y Fahometanaidd, a'r Gristionogol.[1]

G. 2. Pwy yn gyffredinol a gynwysir dan yr enw *Cristionogion?*

A. Pawb a broffesant dderbyn crefydd Iesu Grist fel un ddwyfol.

G. 3. Pa un yw yr *ymraniad* penaf a gymerodd le yn mysg Cristionogion?

A. Cristionogion (yn y rhan Orllewinol o Ewrop) a ddosparthir yn Babyddion a Phrotestaniaid.[2]

G. 4. Pwy a elwir yn *Babyddion?*

A. Y rhai hyny sydd mewn cymundeb ag Eglwys Rhufain, a elwir yn fynych yn *Gatholiciaid* Rhufeinaidd, eithr yn fwy priodol, Pabyddion, o herwydd eu hymostyngiad i'r Pâb, yr hwn y mae y rhan fwy-

1 Heblaw y rhai hyn, y mae yn holl barthau Ewrop luoedd o Ddeistiaid, y rhai ni feddant fel y cyfryw unrhyw ffurf o grefydd neu addoliad cyhoeddus; proffesant eu ffydd yn Nuw, a llawer o honynt mewn sefyllfa ddyfodol, fel cyfarwyddiadau rheswm, eithr gwadant bob datguddiad.

2 Yn y rhan Ddwyreiniol y mae trydydd enwad, sef *Eglwys Groeg*, yr hon mewn amryw bethau, yn enwedig ei seremoniau, a ymdebyga i un Rhufain.

af o honynt yn ei dderbyn a'i anrhydeddu fel rhaglaw Crist, ac esgob cyffredinol.[1]

G. 5. Pwy a olygir wrth yr enw *Protestaniaid*?

A. Yr enw hwn a roddwyd ar y cyntaf, i'r rhai hyny a dystiasant yn gyhoeddus yn erbyn cyfeiliornadau Pabyddiaeth, yn *Spires*, yn yr Almaen, yn y fl. 1529, ac oddiwrthynt hwy, hyd heddyw, a roddir yn gyffredin i'r Cristionogion hyny (yn y Gorllewin) nad ydynt yn Babyddion. Mae yn arwyddocau "Gwrthdystwyr."

G. 6. A ydyw *y Protestaniaid* yn *Lloegr* yn unedig yn eu cred a'u dull o addoli.

A. Nac ydynt; fe'u dosperthir yn Gydffurfwyr ac Annghydffurfwyr, neu fel y gelwir hwynt yn gyffredin, Eglwyswyr ac Ymneillduwyr.

G. 7. Pwy a elwir yn *Gydffurfwyr* neu *Eglwyswyr*?

A. Y rhai hyny a gydffurfiant a'r drefn hono o addoliad, a'r ffurf eglwysig a sefydlwyd ac a gynelir gan y llywodraeth yn Lloegr.

G. 8. Pwy a olygir wrth yr enw *Ymneillduwyr*?

A. Y Protestaniaid hyny yn gyffredinol na chydffurfiant a'r Eglwys Sefydledig, eithr a gyfarfyddant er dwyfol addoliad mewn lleoedd o'r eiddynt eu hunain; yn fwyaf neillduol y rhai a berthynant i'r tri enwad canlynol: sef *Presbiteriaid, Annybynwyr, a Bedyddwyr*.[2]

G. 9. Er pa bryd y mae *Ymneillduwyr* yn Lloegr?

A. Mewn rhyw ystyr yr oedd Ymneillduwyr yn Lloegr yn hir o flaen y Diwygiad.[3]

1 *Catholic* a arwydda *cyffredinol*, ac sydd yn enw tra addas i ddynodi pawb a broffesant i dderbyn crefydd Iesu Grist fel un o osodiad dwyfol, dan yr enwad o *Eglwys Gatholic*, neu *Gyffredinol*; mae yn ofidus fod gair mor eang a phriodol wedi cael ei roddi i ddosparth mor llygredig, a rhagfarnllyd ag *Eglwys Rhufain*. Pâb sydd o'r Lladin *Papa*, yn arwyddo "Tad," yr hwn, ar y cyntaf a roddid i bob Esgob; eithr i un Rhufain wedi iddo drawsfeddianu y swydd o fod yn "ESGOB CYFFREDINOL." O.

2 Mae corff cyfrifol arall o Ymneillduwyr, (er na chynwysir hwynt yn gyffredin yn yr enw hwnw,) a ddynodir wrth yr enw *Crynwyr* neu *Gyfeillion*, y rhai a ymddangosasant gyntaf o gylch y flwyddyn 1650.

Hefyd y ddau Enwad o Drefnyddion, ac eraill a ymddangosasant yn fwy diweddar, a ystyrir yn Ymneillduwyr; ac er bod rhai o honynt yn fath o Buritaniaid yn eu cychwyniad, y mae cynydd gwybodaeth a dygwyddiadau yr amseroedd wedi eu gwneyd yn *Ymneillduwyr ymarferol* yn eu holl bethau perthynol i'w crefydd, pa un bynag eu bod yn arddel yr enw ai peidio. O.

3 Gwel rhan 2il, gofyniadau 1–6.

G. 10. Pa beth a feddyliwch wrth y *Diwygiad*?

A. Yr ymwrthodiad â Phabyddiaeth yr hon a fu y grefydd sefydledig yn y deyrnas hon a holl Ewrop o'r bron, am lawer o oesoedd.

G. 11. Pa beth y gelwid y rhai a ymneillduent oddiwrth Eglwys Loegr cyn iddi ymwrthod a Phabyddiaeth?

A. Lolardiaid, (llysenwad o wawd cyfystyr a *Phanaticiaid*, sef Pen-boethiaid[1]) a Wicliffiaid, o herwydd eu derbyniad o egwyddorion Wicliff,[2] yr hwn oedd y dyn cyntaf o ddim enwogrwydd yn Lloegr a ddynoethodd athrawiaethau Pabyddiaeth.

G. 12. Pa bryd y dechreuwyd y *Diwygiad* yn gyhoeddus yn Lloegr?

A. Yn nheyrnasiad Harri VIII, yn 1534, pan ymrafaeliodd a'r Pâb, gan wadu ei uwchafiaeth yn Eglwys Loegr, o herwydd ei omeddiad i awdurdodi ysgariaeth y Frenhines.

G. 13. A oedd yr Eglwys wedi ei diwygio yn y teyrnasiad hwn, er boddlonrwydd i bawb oedd o egwyddorion Protestanaidd?

A. Nac oedd; canys er i Harri ymrafaelio a'r Pâb, efe a wnaeth ddeddf i sefydlu rhai o gyfeiliornadau gwrthunaf Pabyddiaeth, yr hon a wnaeth ysgrifenu neu lefaru yn ei herbyn yn angeuol; yn ganlynol llosgwyd llawer o Brotestaniaid.

G. 14. Pa fodd yr aeth y Diwygiad rhagddo yn y teyrnasiad nesaf.

A. Edward VI, yr hwn a ddilynodd Harri, oedd dywysog rhagorol a duwiol, ac er ei fod yn dra ieuanc, y Diwygiad a fawr gefnogwyd ganddo. Yr Arch-

1 Am hanes y Lolardiaid, gwel Eiriadur Duwinyddol y Parch. W. Jones, dan y gair hwnw.

2 Wicliff a anwyd yn agos i *Richmond*, yn swydd Caerefrog, tua'r flwyddyn 1324; addysgwyd ef yn Ngholeg y Frenhines, ac wedi hyny yn un *Merton*, yn Rhydychain, lle y bu yn Athraw Duwinyddol dros beth amser. Efe a ddaliai y rhan amlaf o'r pynciau, drwy y rhai y gwahaniaethid y Puritaniaid wed'yn. Efe a ysgrifenodd amryw draethodau yn erbyn prif athrawiaethau Pabyddiaeth; ac efe oedd y cyntaf a gyfieithodd yr holl Fibl i'r iaith Saesoneg. Yr oedd ei frwdfrydedd a'i wroldeb gymaint, fel y danfonodd gyffes ei ffydd at y Pab, gan ddatgan ei fod yn ewyllysgar i'w hamddiffyn yn *Rhufain*. Bu yn weinidog yn *Lutterworth*, yn swydd *Leicester*, amryw flynyddoedd, ac er y perygl y gosododd ei frwdfrydedd ef yn agored iddo, efe a orphenodd ei yrfa yn dawel yn y flwyddyn 1384. Gwel y Dysgedydd am Fawrth, 1850.

esgob Cranmer a fu yn hynod o ddefnyddiol i hyny, yn enwedig i ddiwygio ac ail argraffu y Bibl Saesoneg, a pheri iddo gael ei ddarllen yn yr Eglwysydd.[1]

G. 15. A gadwyd rhywbeth yn yr Eglwys yn y teyrnasiad hwn, ag y gwrthodai rhai gydffurfio ag ef.

A. Do; liaws o seremoniau ac arferion pabaidd, ag y darfu llawer o ddynion, a rhai esgobion, dystio yn eu herbyn, a gwrthod eu harfer, yn enwedig Esgob Hooper, yr hwn am iddo omedd cymeryd ei urddo yn y gwisgoedd pabaidd a garcharwyd, a'i fywyd a beryglwyd.

G. 16. Pa hyd y teyrnasodd *Edward*?

A. Efe a fu farw yn y seithfed flwyddyn o'i deyrnasiad, (yr hon oedd yr unfed-ar-bymtheg o'i oedran,) ac a olynwyd gan y Frenhines Mari, yn y flwyddyn 1553.

G. 17. A wnaeth hi rywbeth at berffeithio y Diwygiad?

A. Na ddo; eithr llawer i'w luddias, ac i fesur mawr a ddadwnaeth yr hyn a wnaed yn y ddau deyrnasiad o'r blaen, gan adferu athrawiaethau, seremoniau, ac addoliad pabaidd.

G. 18. Beth oedd sefyllfa pethau yn mysg y rhai a ymneillduasant o'r Eglwys yn ei theyrnasiad hi?

A. Eu rhifedi a amlhasant yn ddirfawr; eithr gomeddwyd iddynt ryddid cydwybod, ac erlidiwyd hwynt gyda llymder mawr. Rhifedi mawr o honynt a ffoisant dros y moroedd, yn enwedig i'r *Almaen*, lle y blodeuai y Diwygiad. Llawer o'r rhai a aroshasant gartref a losgwyd, yn mysg y rhai yr oedd amryw Esgobion. Oherwydd hyn fe'i galwyd, "Y Frenhines *Mari waedlyd*."[2]

G. 19. Pa *Esgobion* oeddynt fwyaf egniol yn cyflawni gorchymynion gwaedlyd Mari?

A. *Gardiner*, Esgob *Winchester*, a *Bonner*, Esgob

1 Gwel rhifyn 132 o gyhoeddiadau Cymdeithas y Traethodau Crefyddol.

2 Yn y teyrnasiad hwn y llosgwyd Archesgob *Cranmer*, a'r Esgob[illegible] *Ridley*, *Farrer*, *Hooper*, *Dr. Taylor*, Meistri *Rogers*, *Bradford*, *Philpot*, &c., y cyfan rhif medd y cymhedrol *Burnet*, oedd 284. Eithr *Grindal*, yr hwn oedd yn byw yn y cyfamser, a ddywed eu bod yn 800; heblaw 60 a fuont feirw mewn carcharau. *Burnet's Hist. Ref. Book* III. A.D. 1558.

*Llundain*, a ymhyfrydent wrth weled y creulonderau erchyllaf, a'r olaf o honynt yn fynych a'u gweinyddai a'i law ei hun.

G. 20. Pwy a ddilynodd y Frenines Mari?

A. Ei chwaer, y Frenines *Elizabeth*, yn y flwyddyn 1558, yr hon, er ei bod ar y cyfan yn tueddu i ddwyn y Diwygiad rhagddo, oedd yn rhy ofnus rhag tramgwyddo y Pabyddion, ac yr oedd hi ei hunan yn dra hoff o goeg-rodres pabaidd, seremoniau, ac addurniadau eglwysig, ac yn dra awyddus am gynal ac ëangu ei hawdurdod mewn pethau eglwysig.

G. 21. Pa ymwared a gafodd y *Protestaniaid* yn ei theyrnasiad hi?

A. Er fod ganddynt ddisgwyliadau uchel oddiwrthi nes oedd y rhai a ddiangasant i wledydd tramor, yn nheyrnasiad Mari yn dychwelyd adref pan ddaeth hi i gael y goron, ond gwelsant fod amodau cydffurfiaeth mor gyfyng fel nad allai llawer o honynt gydsynio a hwynt yn gydwybodol.[1]

G. 22. Pa wahaniaeth a gymerodd le yn mysg y Protestaniaid yn y teyrnasiad hwn?

A. Rhai o honynt a elwid gan eu gelynion yn *Buritaniaid*, fel enw o waradwydd, oherwydd eu hymgais am ffurf eglurach o wasanaeth a dysgyblaeth, nag oedd eto wedi ei sefydlu, tra y boddlonai y lleill ar y Llyfr Gweddi Gyffredin, fel y diwygiwyd ef yn amser y Brenin Edward VI.[2]

G. 23. Pa foddion a gymerodd y Puritaniaid i gyflawni eu hamcanion?

A. Heb ganfod dim tebygolrwydd am ddywygiad pellach oddiwrth y llywodraeth, rhai o'r dynion blaenaf yn eu plith a luniasant gynyg i'w gael mewn ffordd fwy dirgelaidd. I'r perwyl hwn hwy a godasant henaduriaeth yn *Wandsworth*, (pentref o fewn

1 Yn enwedig yr hyglod *Coverdale*, a *Fox* y merthyr-draithydd, yr hwn a feddai olygiadau mor ëang ar ryddid crefyddol, fel y gomeddai arwyddo dim ond y Bibl. Yr oedd y pryd hyn 8,000 allan o 10,000 o blwyfau heb weinidogion i bregethu ynddynt.

2 Gall y gwahaniaeth hwn a osodwyd tra yn eu sefyllfa o alltudiaeth yn *Frankfort*, yn y teyrnasiad blaenorol, lle y mynai rhai o honynt gyfyngu eu hunain i arfer y ffurfiau fel y sefydlwyd hwynt gartref, ac eraill am ddefnyddio eu rhyddid i'r eithaf, trwy ddiwygio beth bynag a farnent yn feius.

chwe milltir i Lundain, ar lan y *Tafwys*,) Tachwedd 20, 1527, gan ofalu am gadw eu gweithrediadau mor ddirgel ag y gallent. Hon oedd yr eglwys Bresbyteraidd gyntaf yn Lloegr.

G. 24. A ymneillduodd pawb a elwid yn Buritaniaid oddiwrth yr Eglwys Sefydledig?

A. Na ddo; yr oedd rhai o honynt yn cydsynio ag amodau y cydffurfiaeth er caethed oeddynt, mewn gobaith am symudiad o'u gormesion, o leiaf, gan olynydd y Frenines.

G. 25. Pa fodd yr ymddygwyd at y dosparth Puritanaidd yn nheyrnasiad y Frenines Elizabeth?

A. Hwy a driniwyd gyda chreulondeb mawr, yn enwedig y Browniaid,[1] am wrthwynebu y llywodraeth eglwysig, mewn rhan trwy ddymuniad y Frenines i foddhau y Pabyddion, ac mewn rhan trwy wrthwynebiad a thuedd greulon rhai o'r Esgobion. Gwnaed cyfraith hefyd er darostwng i alltudiaeth y rhai ni chydffurfient a chyfreithiau yr Eglwys, ac os gwrthodent neu ddychwelyd adref, i farwolaeth. Yn y teyrnasiad hwn y sefydlwyd yr Uchel Lŷs Eglwysig, yr hwn yn briodol a ellir ei alw "Y Chwil-lys Seisnig." Llŷs Ystafell y Seren hefyd a eisteddai yn gyson yn y teyrnasiad hwn, ac yr oedd ei geryddon a'i gospau yn greulon i'r eithaf.

G. 26. Beth oedd effeithiau y caledi hwn a ddyoddefodd y Puritaniaid?

A. Gwnaeth iddynt benderfynu ymddidoli o'r Eglwys Sefydledig, ac felly amlhau eu rhifedi.

1 Y Browniaid oeddynt ganlynwyr Robert Brown, yr hwn a addysgwyd yn Nghaergrawnt, ac oedd bregethwr yn esgobaeth *Norwich*. Efe a ysgrifenodd yn dra thanbaid, ac a aeth o amgylch y wlad i bregethu yn erbyn dysgyblaeth a defodau yr Eglwys. Ei egwddorion ar y cyfan, oeddynt debyg i'r rhai wedi hyny a elwid yn Annybyniaid, oddieithr ei fod yn fwy rhagfarnllyd at bersonau o wahanol syniadau.

Wedi iddo ddyoddef llawer o herwydd ei olygiadau, drwy gael ei garcharu ddeuddeg ar hugain o weithiau. Wedi hyny aeth ef, ag un Harrison i'r Iseldir, lle y cawsant ryddid i addoli, eithr oblegyd rhyw annghydfod rhyngddynt, methasant a llwyddo, a dychwelasant yn eu hol. Darfu i Brown gydffurfio, a gwnaed ef yn offeiriad yn swydd Northampton, lle y trodd allan yn ddyn afradlon a drwg, a bu farw yn y carchar. Hanes yr Eglwys, gan y Parch. D. Morgan. Cyf. 2. tu dalen 505. O.

Yr Archesgobion *Parker*, *Whitgift*, *Bancroft*, a'r Esgob *Aylmer*, *&c.*, oeddynt wrthwynebwyr tra gelynol i'r Annghydffurfwyr.

G. 27. A gafodd yr Eglwys ddim diwygiad yn mhellach gan y Brenin *Iago I?*

A. Na ddo; er iddo gael ei ddwyn i fynu yn Bresbyteriad yn yr Alban, a bod deiseb am fwy o Ddiwygiad wedi ei chyflwyno iddo, wedi ei harwyddo gan fil o weinidogion, gwnaed amodau cydffurfiaeth yn gaethach nag erioed gan lyfr y Canonau, yn y flwyddyn 1603, yr hwn sydd yn aros hyd y dydd hwn.

G. 28. Pa gyhoeddiad a wnaeth *Iago* ag a barodd dramgwydd dirfawr i'r Puritaniaid a dynion da eraill?

A. Y Cyhoeddiad er anog i wag-ddifyrwch ar Ddydd yr Arglwydd, a elwir yn gyffredin, Llyfr y Chwareuyddiaethau.

G. 29. Pa fodd y triniwyd y Puritaniaid yn nheyrnasiad *Iago*?

A. Y rhai oeddynt allan o'r Eglwys a'r rhai oeddynt ynddi, a erlidiwyd gan yr Esgobion gyda chreulondeb mawr. Amryw ganoedd o'r gweinidogion mwyaf cydwybodol a ddistawyd, a garcharwyd, ac a esgymunwyd, a llawer o honynt a ffoisant rhag yr erledigaeth i *Holland*,[1] ac wedi hyny i anialdir *America*.

G. 30. Pa lwyddiant a gawsant yn yr anturiaeth enbyd hon?

A. Er iddynt, ar y cyntaf, gyfarfod a llawer o anhawsderau, eu rhifedi oedd yn cynyddu, o herwydd yr erledigaeth oedd gartref, hwy a sylfaenasant sefydliad ardderchog, yr hwn a fu yn nawddle i'r Annghydffurfwyr gorthrymedig, ac y mae yn awr wedi dyfod yn ymerodraeth flodeuog a llwyddianus.

G. 31. A gafodd y Puritaniaid ddim ffafr oddiwrth *Siarls I?*[2]

A. Na ddo; ond i'r gwrthwyneb, cawsant eu herlid ganddo, tra yr oedd y Pabyddion yn cael eu cefnogi

1 Y rhai cyntaf a sefydlasant yn *Holland*, oeddynt ganlynwyr Mr. *Robinson*, yr hwn a olygir fel tad yr *Annybynwyr*. Efe a ffodd yno yn y teyrnasiad o'r blaen gyd a *Browniaid* eraill, ac a sefydlodd eglwys yn *Leyden*, yn ol y drefn gynnulleidfaol. Mr. *Hari Jacobs* a gymeradwyodd ei olygiadau ar lywodraeth eglwysig, a phan ddychwelodd i Loegr, efe a sylfaenodd yr *Eglwys Annybynol gyntaf*, yn y fl. 1616.

2 Daeth Siarls i feddiant o'r goron yn y flwyddyn 1625.

trwy anogaeth y Frenines (yr hon oedd Babyddes ddallbleidiol), a llawer o Esgobion, yn enwedig Archesgob *Laud*,[1] yr hwn oedd yn ymlynu yn gadarn wrth y defodau Pabaidd. Yn y teyrnasiad hwn y dygwyd y ffurf-wasanaeth Seisnig a'r Llywodraeth Esgobawl i'r Alban.

G. 32. Pa fath oedd cymeriad crefyddol y Tywysog hwn?

A. Er maint a ganmolid ar ei rinweddau gan ei gyfeillion, mae yn ddilys ei fod yn nodedig am ei ragrith, ac efe a gefnogodd annuwioldeb, trwy atal pregethu prydnawnol, ac ail gyhoeddi Llyfr y Chwareuyddiaethau, gan orchymyn i'r holl Lênwyr ei ddarllen yn eu heglwysi—ac am wrthod hyny y cafodd llawer eu troi allan o'u bywioliaethau a'u hesgymuno.

G. 33. Onid oedd yn cael ei gyhuddo o ymgeisio am *lywodraeth ormesol*?

A. Oedd, a hyny yn gyfiawn, canys efe a droseddodd egwyddorion sylfaenol y Senedd mewn amryw bethau, ac a arferodd awdurdod aunghyfreithlon mewn achosion gwladol ac eglwysig.

G. 34. Pa beth a fu y canlyniad o'i ymddygiadau gormesol?

A. Buont yn achlysur o ryfel cartrefol yn mysg ei ddeiliaid, rhan fawr o honynt a bleidiasant y Senedd, trwy amddiffyn eu rhyddid gwladol a chrefyddol, yn erbyn y rhai a ymlynent wrth y Brenin, gan geisio caethiwo y deyrnas.

G. 35. Pa fodd y terfynodd y rhyfel cartrefol?

A. Gwyr y Senedd a fuont fuddugoliaethus, ac a wnaethant y Brenin yn garcharor iddynt. O'r diwedd dygwyd y cyhuddiad o uchel fradwriaeth yn ei erbyn, ac euog-farnwyd ef gan Dŷ y Cyffredin (yr hwn oedd y pryd hyny wedi ei ddwyn i nifer fach, yn gweith-

1 Gwnaeth *Laud* ryw gyfnewidiad yn y ffurf-wasanaeth, yn bleidiol i Babyddiaeth; efe a roddes drwyddedau er argraffu llyfrau Pabaidd; ac a attaliodd rai Protestanaidd, sef gwaith Esgob *Jewel*, a Merthyrdraith *Fox*.

Efe a arferodd y fath ffurfiau Pabaidd wrth gysegru eglwys Sant Catherine Cree, yn Llundain, (ac y mae ei lle yn awr yn borthle llongau.) ag oedd yn ddigon i beri i offeiriad Pabaidd wrido, ac nid all un Protestant ddarllen yr hanes heb deimlo gofid. Geiriadur y Parch. W. Jones, dan y gair *cysegriad*. O.

redu dan ddylanwad y fyddin) i gael tori ei ben; y farwolaeth hon a ddyoddefodd Ionawr 30, 1649.

G. 36. Onid yw y Presbyteriaid yn cael eu cyhuddo yn gyfiawn o lofruddio y *Brenin*?

A. Yn dra annghyfiawn y rhoddir ei farwolaeth yn erbyn unrhyw blaid grefyddol, fel y cyfryw, yn enwedig y *Presbyteriaid*, gan ei bod yn eithaf hysbys nad oedd ond un o honynt yn Nhŷ y Cyffredin pan ddechreuodd y rhyfel cartrefol, a bod *dau-ar-bymtheg a deugain* o'u gweinidogion yn *Llundain*, a llawer yn y wlad, (gystal a rhai *Annybynwyr*) wedi tystio yn erbyn amcan y fyddin i gymeryd ei fywyd ymaith.[1]

G. 37. Pa beth oedd fwyaf hynod wedi *marwolaeth Siarls*?

A. Y cyfansoddiad a ddatodwyd, a'r freniniaeth a newidiwyd i weriniaeth. Presbyteriaeth a gymerodd le Esgobyddiaeth yn Eglwys Loegr, a'r cyfreithiau cospawl yn erbyn Ymneillduwyr a ddiddymwyd.

G. 38. Wedi i'r Presbyteriaid fyned i awdurdod, oni fuont gymaint gelynion i ryddid cydwybod a'r *Esgobaethwyr* o'u blaen?

A. Nis gellir gwadu nad oeddynt yn awyddus i sefydlu hawl ddwyfol Presbyteriaeth, a'u bod yn rhy lymion wrth y Llênwyr Esgobawl, ac yn elynol i ryddid pob plaid arall o Gristionogion, yn enwedig y Bedyddwyr, y rhai a ddechreuasant flodeuo yn nghylch yr amser hwn yn *Lloegr*.[2]

1 Fe wel pob dyn diduedd mor annghyfiawn y ceblir yr Ymneillduwyr yn gyffredin, megys teyrn-leiddiaid, (yn enwedig yn y pregethau ar y 30ain o Ionawr) drwy ystyried yr hyn y mae eu hanesydd hwy eu hunain, Mr. *Neal*, yn ei ddyweyd am yr achos. Vol. ii. p. 360.

"Mae Mr. P. Henry hefyd yn cadarnhau yr un peth, yr hwn oedd yn llygad-dyst o'r gyflafan, pan aeth trwy ganiatad o Rydychain i ymweled a'i dad i'r Neuadd-Wen. Ar bob achlysur efe a feiai y weithred, ac efe a fu yn cadw Ionawr 30ain yn ddydd o ymostyngiad wedi dyfod Siarls II i'r orsedd; eithr pan ganfu ei fod yn cael ei ddefnyddio yn aml i waradwyddo, a beio rhai diniwaid, a rhai rhagorol y wlad, ac nad oedd un esiampl ysgrythyrol dros ei gadw, ni chymerodd mwynach un sylw o hono, oddieithr ger bron Duw yn y dirgel." Life of Philip Henry, by his son Mat. Henry. Miscellaneous works; Baxter's London Edition, p. 11. O.

2 Mae *ymgais y Dr. Walker i gael hanes dyoddefiadau y Llenwyr*, fodd bynag yn cynwys llawer o haeriadau annghywir, ac adfyfyrdodau atgas ar y pen hwn, y rhai a genfydd y darllenydd wedi eu hateb yn foddhaol a theg, yn Hanesyddiaeth Mr. *Neal* o'r Puritaniaid. Cyf. II. tu dal. 17. &c.

Yr eglwys gyntaf o Fedyddwyr yn Llundain, medd Mr. *Neal*, a sylfaenwyd

G. 39. Onid yw hyn yn profi fod awydd yr *Ymneillduwyr* am ryddid yn unig iddynt *eu hunain*, ac nad oes ganddynt ddim gwrthwynebiad i drawsawdurdod pan fedrant ei gael i'w dwylaw eu hunain?

A. Nac ydyw mewn un modd; canys deallir egwyddorion rhyddid crefyddol yn awr yn fwy trwyadl gan yr holl wahanol enwadau; a'r corff presenol o Ymneillduwyr a gondemniant gaethder y Presbyteriaid yn amser Siarls yn gystal a'r Uchel-Eglwyswyr. Y maent yn awr yn gyfeillion i ryddid cyffredinol mewn crefydd, ac nid oes un enwad yn eu plith a ewyllysiai gael ei ffordd ei hun o addoli yn sefydledig, megys yn grefydd wladol.

G. 40. Pa hyd y parhaodd Llywodraeth werinol?

A. Ychydig dros bedair blynedd, pan ddarfu *Oliver Cromwel*, yr hwn oedd dywysog y fyddin, ddatod y Senedd, a galw un newydd; yr hon yn dra buan a roddodd i fynu y llywodraeth, yna Oliver a'i cymerodd i'w ddwylaw ei hun, ac a urddwyd yn *Arglwydd Amddiffynydd*, Rhagfyr 1653.

G. 41. Pa fâth oedd sefyllfa crefydd dan *amddiffyniad Oliver*?

A. Ei egwyddorion oeddynt bleidiol i ryddid crefyddol, ac efe a gyhoeddodd dros Oddefiad Cyffredinol i'r Protestaniaid; ac er ei fod yn caniatâu y ffurflywodraeth Eglwysig Bresbyteraidd, efe a'i diarfogodd hi o'i hawdurdod dreisiol, gan fawr gefnogi yr Annybynwyr, ac amddiffyn pleidiau eraill. Ac er iddo o herwydd rhyw resymau gwladwriaethol, yn annghyfiawn, omedd rhyddid cyfreithlawn i'r *Esgobaethwyr*, goddefwyd eu cynulliadau, a llawer o'u gweinidogion a gawsant weini eu swyddau heb lyffetheiriau llwon na thanysgrifiadau.[1]

yn y fl. 1640, i'r hon yr oedd Mr. *Henry Jesse*, yn Fugail. Eithr mae Mr. *Ivimy*, yn ei "Hanesyddiaeth ddiweddar am y *Bedyddwyr* Seisnig," yn ei nodi yn llawer boreuach.

1 Yn yr erthyglau perthynol i Grefydd, yn y fl. 1653, y Grefydd Gristionogol, fel y mae yn gynwysedig yn yr Ysgrythyrau, a ddangosid, ac a ganmolid fel proffes gyhoeddus y teyrnasoedd hyn. *Neal's* Hist. Vol. II. p. 427. A phan oedd y gymanfa am gyfyngu y rhyddid i'r cyfryw a gredent y *pynciau sylfaenol*, (y rhai y trefnasant gymanfa i'w cyfansoddi hwynt,) *Oliver* a draethodd yn eu herbyn yn wrol, gan ddywedyd, "Dylid gadael pawb i ryddid eu cydwy-

G. 42. Pwy a ddilynodd *Oliver* yn llywodraethiad y teyrnasoedd hyn?

A. Ei fab *Richard*, yr hwn a roes ei swydd i fynu yn mhen wyth mis, ac a ddychwelodd i fywyd anngyhoedd. Ar ol cyfwng fawr o annhrefn, *Siarls* II, mab *Siarls* I, (wedi bod amryw flynyddau mewn alltudiaeth,) a adferwyd yn benaf trwy ddylanwad y *Presbyteriaid*, y rhai bob amser a wrthwynebasant fesurau gormesol Cromwel, ac oeddynt gyfeillion i'r unbenaeth *Seisnig* derfynol, megys y mae yr Ymneillduwyr eto.

G. 43. Pa fath oedd *cymeriad* y Tywysog hwn?

A. Yr oedd yn hynod am ei dueddiad at anlladrwydd, a'i adferiad a ddilynwyd gan genllif o ddrygioni a halogedigaeth, yr hwn a redodd o'r llŷs trwy y deyrnas, ac a lygrodd fucheddau y Llênwyr.

G. 44. Pa fodd y talodd Siarls y *Presbyteriaid* am eu hawyddfryd yn ei achos?

A. Er iddo wneuthur addewidion teg, a gosod deg o honynt yn gaplaniaid cyflogedig iddo, efe a adferodd y ffurf-wasanaeth yn fuan, ac a adsefydlodd yr hen Lênwyr gwrthodedig, (hyd yn oed y rhai a fwriwyd allan am anfoesoldeb,) a thrwy y moddion hyn y difreiniwyd ar unwaith amryw ganoedd o'r Llênwyr Presbyteraidd. Ac er fod y Brenin yn gwenieithio iddynt hwy, gyda gobaith am gydsyniad rhyngddynt a'r Esgobaethwyr, hwy a gynaliasant gynadledd yn *Savoy* gyda'r bwriad hwnw, hwy a ganfuasant yn fuan eu bod wedi eu siomi. Ni wnai yr Esgobion ddim cyfnewidiad yn y ffurf-wasanaeth er boddlonrwydd iddynt, eithr yr oedd yn amlwg fod bwriad i'w cadw hwynt o'r Eglwys; yn yr hon y dygwyd yn fuan bob peth i'w hen sefyllfa. Dynion o egwyddorion eglwysig uchel a dderchafwyd i esgobaethau, ac amodau cydffurfiaeth a wnaed yn

bodau eu hunain, ac nas gall y Llywydd gwladol ymyraeth heb ei rwydo ei hun a'r euogrwydd o erledigaeth." *Ibid.* 446.

* Haeddai y geiriau hyn gael eu hargraffu ag *aur* ar drwydded pob swyddog gwladol drwy yr holl fyd. O.

galetach nag erioed, a'r rhai a omeddent a driniwyd yn llymdost.

G. 45. Pa un oedd y *Ddeddf Seneddol gyntaf* yn y teyrnasiad hwn oedd yn niweidiol i'r *Ymneillduwyr*?

A. *Y Fwrdeis-ddeddf*; yr hon oedd yn lluddias pawb rhag cael swydd mewn un Fwrdeis-dref, nad oedd wedi derbyn Swper yr Arglwydd yn ol defodau Eglwys Loegr, o fewn blwyddyn cyn ei etholiad, yn nghyd a chymeryd y llwon o ufudd-dod i'r llywodraeth, ac uwchafiaeth y Breuin fel pen yr Eglwys.

G. 46. Pa un oedd y *Ddeddf fwyaf hynod* yn nheyrnasiad *Siarls* II, mewn perthynas i grefydd?

A. Y Ddeddf a ddaeth i rym ar *ddydd Bartholomeus*, Awst 24, 1662, a elwid *Deddf yr Unffurfiaeth*, yr hon a ofynai i'r holl weinidogion a arosent yn yr Eglwys, neu a dderbynid i fywiolaethau, i arfer yr un ffurf o osodiad, arwyddo y deugain Erthygl ond un, a datgan eu cydsyniad a'u cymeradwyaeth i'r argraffiad o'r Llyfr Gweddi Gyffredin, er fod llawer o honynt heb gael cyfleustra i'w weled yn y cyfamser.

G. 47. Pa beth oedd *effaith* y ddeddf hon?

A. Hi a orfododd i fwy na *dwy fil* o weinidogion teilwng a chydwybodol, (llawer o honynt a gawsant urddau esgobol) i adael yr Eglwys Sefydledig, a chymeryd eu rhan yn mysg yr Ymneillduwyr, y rhai trwy hyny a gawsant y fath ychwanegiad, fel y gellir eu hystyried yn dadau yr achos Ymneillduol. Yr enw Puritaniaid a newidiwyd y pryd hyn i Annghydffurfwyr.

G. 48. A oedd y gweinidogion hyny yn *ganmoladwy*, y rhai drwy hyn, a daflasant eu hunain o'u bywioliaethau?

A. Mae yn ddiameuol ei bod yn ymdrech ogoneddus o blaid rhyddid crefyddol, yr hyn a wnaeth fawr anrhydedd i'r ffydd Brotestanaidd, ac yn fwy effeithiol na mil o resymau eraill i argyhoeddi oes lygredig a didduwiaidd o wirionedd crefydd, a'r parch sydd ddyledus i ryddid cydwybod; canys ni ellid tybied fod dim ond cydwybod yn eu tueddu fel hyn

i aberthu eu helw bydol; yr hyn a wnaeth llawer o honynt heb unrhyw foddion gweledig o gynaliaeth?

G. 49. A gawsant hwy ryddid i addoli Duw yn ol eu cydwybodau wedi iddynt adael yr Eglwys?

A. Na ddo; hwy a ddeisyfasant am ryddid dri diwrnod wedi i Ddeddf yr Unffurfiaeth gymeryd lle, eithr yn ofer, ac yn fuan wedi hyn, B.A. 1664, gwnaed *Deddf y Cyfarfodydd Annghyfreithlon*, drwy yr hon yr oedd pob un dros un-ar-bymtheg oed, a fyddai yn bresenol mewn unrhyw gyfarfod i unrhyw ymarferiad crefyddol, heb fod yn ol trefn Eglwys Loegr, lle y byddai pump neu fwy o ddynion heblaw teulu y tŷ, oeddynt am y trosedd cyntaf i ddyoddef tri mis o garchar, neu dalu *pum punt*; am yr ail, chwe mis, neu dalu *deg punt*; ac am y trydydd, i gael eu halltudio am saith mlynedd, neu dalu *can punt*; ac os byddai iddynt ddychwelyd neu ddianc, i ddyoddef marwolaeth heb gael braint y Llênwyr.[1]

G. 50. A wnaed yr un Ddeddf arall i annhreithio yr *Annghydffurfwyr*?

A. Do; yn y flwyddyn ganlynol (1665) gwnaed *Deddf Rhydychain*, neu *Ddeddf y Pum Milltir*, yr hon a ataliai yr holl weinidogion ymneillduol, (drwy ddirwy o *ddeugain punt*,) ar na chymerent y llw mwyaf afresymol, yr hwn a grybwyllir ynddi, rhag dyfod o fewn pum milltir i un ddinas na bwrdeis-dref, neu unrhyw fan y buont yn arfer eu gweinidogaeth ynddo, a rhag addysgu yn unrhyw ysgol.[2]

1 Arglwydd *Clarendon* ac Archesgob *Sheldon* a wrthwynebasant iddynt gael eu goddef, yn dra egniol, ac a lwyddasant gyda'r cynghor. Gwel hanes eu bywydau a'u dyoddefaint yn Nghofiant yr Annghydffurfwyr.

Braint y Llênwyr, *(benefit of the Clergy,)* oedd hen arfer gyfreithiol i roddi y cyhuddedig i ddarllen cyfran o hen ysgrifen, neu argraff; ac os gwnai hyny yn rhwydd, fe gyhoeddid uwch ei ben, "*Legit ut Clericus*," hyny yw, mae yn darllen fel Llênwr, ac o ganlyniad, arbedid ei fywyd. O.

2 Y llw oedd nid yn unig "nad yw yn gyfreithlon ar unrhyw achos i gymeryd arfau yn erbyn y Brenin," &c., (yr hyn ni fuasai nemawr o honynt yn ei wrthwynebu,) ond yr oedd ynddo yr ychwanegiad hwn, "yr wyf yn tyngu na fydd i mi ar unrhyw amser gynyg un math o gyfnewidiad llywodraeth yn yr eglwys na'r wladwriaeth."

D.S. Gwnaed y ddeddf hon pan oedd y *plâ* yn difrodi yn *Llundain* i'r fath raddau ag i dori ymaith *wyth* neu *ddeng mil* mewn wythnos; yr hyn a barodd i'r rhan amlaf o'r Llênwyr sefydledig adael eu plwyfau, er mai y pryd hwnw yr oedd ar y bobl fwyaf o eisiau eu cymhorth, ac yn fwyaf parod i'w dderbyn. Rhai

G. 51. Beth oedd tuedd yr *Esgobion* tuag at yr *Ymneillduwyr* yn y teyrnasiad hwn?

A. Yr oeddynt gan mwyaf yn dra diwyd yn eu herlid hwynt, ac yn mawr gefnogi cyhuddwyr, yn enwedig Archesgob *Sheldon*, yr hwn a anfonodd orchymynion i'r holl Esgobion yn ei dalaeth i gael enwau yr holl weinidogion Annghydffurfiol oedd wedi eu troi allan, yn nghyd a lleoedd eu preswylfëydd, a'r modd yr oeddynt yn byw, gyda golwg i osod y cyfreithiau yn fwy llymion yn eu herbyn.

G. 52. Oni ddangosodd y Brenin duedd i ganiatâu *Rhyddid*?

A. Do; wedi alltudiaeth Arglwydd *Clarendon*, (yr hwn oedd un o'r gelynion chwerwaf a gafodd yr Ymneillduwyr) y Brenin yn ei araeth i'r Senedd a wnaeth gynygiad am ryddid cyffredinol, a mabwysiadwyd cynllun tuag at gyd-ddygiad; eithr yr Esgobion a wrthwynebasant y cynygion hyn, a'r Senedd a ddeisebodd am weinyddiad y cyfreithiau cospawl; fel yr adnewyddwyd yr erledigaeth, a Deddf y Cyfarfodydd Annghyfreithlon (yr hon oedd wedi darfod) a adferwyd, gyda dau ddosran annghyffredinol ynddi, y rhai a awdurdodent ynadon, heddweision, &c., i dori i mewn i unrhyw leoedd yr hysbysid hwynt am gyfarfod annghyfreithlon, a gosod dirwy o *bum punt* ar unrhyw ynad a omeddai weinyddu y ddeddf hon.

G. 53. Pa beth oedd amcan ac effaith y *Brawf-Ddeddf* a wnaed yn y teyrnasiad hwn?

A. Y *Brawf-Ddeddf* a orchymynai i bawb a gymerent unrhyw swydd dan y llywodraeth i dderbyn Swper yr Arglwydd, yn ol defod Eglwys Loegr o fewn tri mis wedi eu sefydliad. Amcan y Cyffredinwyr yn dwyn yr Ysgrif hon i mewn oedd cau allan y *Pabyddion* o leoedd o ymddiried ac elw: llawer o honynt a fawr dderchafwyd gan y llŷs: ond yr yd-

o'r gweinidogion a fwriwyd allan a gynhyrfwyd gan dosturi at eneidiau dynion yn y sefyllfa druenus hon, a anturiasant bregethu yn yr areithfâau gadawedig hyn, eithr parodd hyn dramgwydd i'r rhai oedd mewn awdurdod, ac a fu yn annogaeth i wneyd y ddeddf warthus hon. Mae y ddeddf hon, a deddf y cyfarfodydd annghyfreithlon wedi eu dileu gan ddeddf newydd goddefiad, yn y fl. 1812; ar ol bod mewn grym am 147 o flynyddoedd.

oedd wedi ei geirio fel ag i gau allan yr *Ymneillduwyr Protestanaidd* hefyd.

G. 54. Pa fodd yr ymddygodd yr *Ymneillduwyr* yn yr amgylchiad hwn?

A. Hwy a rwyddhasant yr Ysgrif, megys peth a dybient yn amddiffynfa dda rhag *Pabyddiaeth;* yr hwn amgylchiad wedi hyny a'u gwnaeth yn agored i anfoddlonrwydd y llŷs. Y Pabyddion a fwriwyd allan o leoedd o ymddiried, ac ni ddangosai y llŷs bellach ddim tynerwch at yr Ymneillduwyr Protestanaidd, eithr y Brenin a roddodd gyhoeddiad allan i roddi y deddfau cospawl mewn llawn weithrediad yn eu herbyn, yr hyn a wnaed mewn canlyniad; a llawer o ffug-fradwriaethau a dadogwyd arnynt er eu gwneuthur yn fwy atgas gan y llywodraeth.

G. 55. Beth oedd effaith yr holl Ddeddfau hyn yn erbyn yr Annghydffurfwyr?

A. Llawer o honynt a ddyoddefasant y caledi mwyaf, drwy gael eu dirwyo, eu hysbeilio, eu carcharu, a'u gyru oddiwrth eu teuluoedd. Eu colled yn eu galwedigaethau a'u meddianau, yn yspaid tair blynedd, a gyfrifir yn ddwy filiwn a haner o bunoedd, (sef dwy fil a haner o filoedd, 2,500,000); a dywedir fod *wyth mil* wedi meirw yn ngharchar yn y teyrnasiad hwn. Yr unrhyw erledigaethau a ddygwyd i'r *Alban;* a llawer yno, yn gystal ag yn Lloegr, a adawsant eu gwlad i ochelyd cynddaredd eu gelynion.

G. 56. Beth oedd cymeriad *Iago II.*, yr hwn a feddianodd y goron ar farwolaeth *Siarls?*

A. Yr oedd yn Babydd proffesedig; a llyncodd y

D.S. Bu y fwrdeis-ddeddf mewn grym 167 o flynyddau; a'r brawf-ddeddf 155; er eu bod yn eithaf annghydweddol a rhyddid cyfiawn deiliaid daionus. Bu deisebau yr Ymneillduwyr am eu diddymiad yn foddion i ddwyn arnynt yr anmharch mwyaf oddiwrth y dosparth *Uchel Eglwysig*, y rhai yn nhref *Birmingham* a aethant i'r fath raddau o gynddaredd, nes anog terfysg-dorf i losgi tai y *Dr. Priestley* ac amryw *Ymneillduwyr eraill*, yn nghyd a'r ddau addoldy mwyaf yn y lle. Bu raid i'r llywodraeth wneyd y golled i fynu, a chafodd y dref ei threthu at hyny; yr hyn a barodd iddynt ddedfrydu eu gwaith wrth deimlo ei effeithiau. Gwnaed difrodau o'r cyffelyb mewn rhanau eraill o'r deyrnas. O fawr ddaioni yr Arglwydd, drwy offerynoliaeth ymdrechion diflino cyfeillion rhyddid, cafodd y deddfau hyn eu diddymu ar y 9fed dydd o Fai, 1828. Mae yr Annghydffurfwyr presenol yn medi o lafur eu brodyr a fuont ar y maes o'u blaen. Bydded iddynt ddyolch i Dduw, gan fod yn ddyfal i ddefnyddio eu breintiau. O.

fath egwyddorion o lywodraeth ormesol, ac a erlidiodd yr Annghydffurfwyr drwy weinyddu yr holl gyfreithiau cospawl yn eu herbyn gyda'r llymder mwyaf. Llawer er eu dyogelwch a'u trosglwyddasant eu hunain i *Holland*, ac i'r taleithiau *Americanaidd*. Nifer fawr o'r rhai a arosasant gartref, nid yn unig a ddyoddefasant y creulonderau mwyaf a allai y cyfreithiau roddi, eithr a driniwyd gan eu gelynion gyda'r llymder mwyaf, yn enwedig gan y barnwr *Jefferies*,[1] gan yr hwn y cafodd llawer o Ymneillduwyr, ac eraill o garwyr rhyddid, eu cigyddio yn y modd mwyaf barbaraidd; am yr hyn y bu gwrthryfel *Duc Mynwy* yn achlysur cryf iddo.

G. 57. Beth oedd effaith y creulonderau hyn a'r rhai blaenorol?

A. Tra gwahanol i amcanion y rhai oedd yn eu gosod. Achos Annghydffurfiaeth yn lle cael ei ddinystrio a gyfnerthwyd drwy hyny, mewn rhan drwy gymeriadau gwarthus eu cyhuddwyr a'u herlidwyr, eithr yn benaf trwy dduwioldeb, sel, a gwroldeb y dyoddefwyr, y rhai a gymerasant eu hysbeilio yn llawen o'u meddianau, a gorfoleddu am eu cyfrif yn deilwng i ddyoddef er mwyn cydwybod. Oddiwrth yr achosion hyn a'r cyffelyb, er cymaint o luoedd a laddwyd, neu a orfodwyd i ddianc o'u gwlad, ni leihawyd nemawr yn eu rhifedi, oblegyd y chwanegiad a gawsant o'r Eglwys Sefydledig; yr hon a adawyd gan amryw Lênwyr yn y teyrnasiad hwn fel Eglwys erledigaethus, i gymeryd eu rhan yn mysg yr Annghydffurfwyr.[2]

G. 58. *A barhaodd* yr erledigaeth hon ar yr Ymneillduwyr ar hyd teyrnasiad *Iago*?

A. Na ddo; y Brenin yn ebrwydd a newidiodd ei fesurau, ac a ganiataodd ryddid cyffredinol, ac hyd yn oed a dderchafodd Ymneillduwyr i leoedd o ymddiried ac elw; eithr yr oedd yn amlwg ei fod yn

1 Ceir engraifft o yspryd erlidgar *Jefferies*, yn ei driniaeth o *Mr. Baxter* ar ei brawf. *Noncon. Memorial*, II. p. 533. Hefyd o *Mr Thomas Rosewell*, prawf yr hwn a ail-argraffwyd yn "Nhrysorfa yr Ymneillduwyr Protestanaidd."

2 Mae Mr. Neal yn crybwyll rhai o'u henwau. See his Hist. Vol. II. p. 752.

gwneyd er cael ffordd rwyddach i adferu Pabyddiaeth. Yr Ymneillduwyr oeddynt yn eiddigus am hyn, ni wnaent, yn gyffredin, gydnabod yr awdurdod gymedrolaidd, eithr yn ewyllysgar a roddasant i'r Eglwys y cymorth a geisiai hi yn awr ganddynt yn erbyn y Pabyddion; am yr hyn, pa fodd bynag, y talwyd hwynt yn ddrwg, megys y darfu yr addewidion difrifol a wnaeth iddynt yn amser ei pherygl gael eu hannghofio ganddi gan gynted ag yr aeth y perygl drosodd.

G. 59. Pa beth a fu yn hynod gynorthwyol i'r *Ymneillduwyr* yn ystod bywyd y *Tywysog* hwn?

A. *William* Tywysog *Orange*, Protestant o goffadwriaeth anrhydeddus ac anfarwol, drwy drefniad y *Whigiaid*, a ddygwyd i Loegr i amddiffyn yr achos Protestanaidd, wrth yr hyn y brawychodd Iago, gan adael yr orsedd, yr hon, *William* (gyda'i garuaidd wraig *Mari*) a wahoddwyd i'w derbyn. Y digwyddiad hwn a elwir, "*Y Chwyldroad.*"[1]

G. 60. Pa Ddeddf a wnaed yn y flwyddyn 1689 er mantais i'r *Ymneillduwyr?*

A. Deddf y Goddefiad, yr hon a ryddhaodd yr Ymneillduwyr rhag dyoddef y cospau a weinyddai y gyfraith, ac yn goddef iddynt (ar amodau a'r rhai yn gyffredin yr oeddynt hwy eu hunain yn cydsyniad) i addoli Duw yn ol cyfarwyddiadau eu cydwybodau.

G. 61. A gafodd *Deddf y Goddefiad* byth ei diddymu?

A. Na ddo; trwy ddaioni rhagluniaeth Duw, ni bu gelynion yr Ymneillduwyr byth yn alluog i wneyd hyny, er iddynt amrywiol o weithiau gynyg cwtogi y rhyddid a ganiatawyd iddynt.

G. 62. Pa bryd y cafodd yr *Ymneillduwyr* achos i ofni fod eu rhyddid *mewn perygl* wedi y *Chwyldroad?*

A. Yn niwedd teyrnasiad y *Frenines Anne*, pan ddarfu i blaid y *Jacobiaid*[2] enill nerth a dylanwad yn

[1] Y *Whigiaid* y pryd hyn, oeddynt blaid yn y deyrnas, a wrthwynebent yn benthol Babyddiaith yn yr Eglwys, a thraws awdurdod yn y llywodraeth.
[2] *Jacobiaid* y gelwid y blaid a ymlynai gyda *Iago* II. a'i achos wedi hyny.

y llŷs, gwnaed y Ddeddf Seneddol a elwir, *Dedd Unffurfiaeth achlysurol,* yr hon a rwystrai baw oedd mewn swydd dan y llywodraeth i fyned i dŷ add oliad Ymneillduaidd. Un arall a elwir *Deddf y Rhwygiad,* a gafodd y cydsyniad Breninol, yr hon n oddefai i'r Ymneillduwyr ddysgu eu plant eu hunain ac a ofynai iddynt eu rhoddi yn nwylaw y Cydffurf wyr; ac a waharddai bawb Athrawon ac Ysgolfeistr iaid fod yn bresenol mewn un lle o addoliad Ymneill duaidd, yr hyn a alwai yn gyfarfod anghyfreithlon

G. 63. Pa fodd y digwyddodd i'r ddyfais hon e caethiwo yr *Ymneillduwyr* drachefn gael ei *dyrysu*?

A. Y Frenines a *fu farw ar y dydd* yr oedd y Ddeddf annghyfiawn hon i ddyfod mewn grym, (Aws laf, 1714) pan gafodd Etholydd *Brunswick* (Sior I.) cyfaill diysgog i ryddid gwladol a chrefyddol e gyhoeddi yn Frenin Prydain Fawr, yr hwn a ddiddymodd y Ddeddf hon yn y bumed flwyddyn o'i deyrnasiad. Yn ei deulu ardderchog ef yr arosodd y deyrnwialen yn wastad wedi hyny, dan lywodraeth gyfiawn pa rai y dyogelwyd ein hiawnderau cyfreith lon, a Deddf y Goddefiad nid yn unig a gadwyd yn ddihalog, eithr a helaethwyd ac a ddiwygiwyd.

G. 64. Beth oedd yr *amodau* drwy y rhai yr oedd mantais Deddf y Goddefiad yn cael ei therfynu?

A. Gofynid i'r holl Weinidogion Ymneillduol nid yn unig i gymeryd y llwon o ufudd-dod i'r llywodraeth, ac uchafiaeth y brenin, a gwneyd ardystiad yn erbyn Pabyddiaeth, eithr hefyd i arwyddo Erthyglau Athrawiaethol Eglwys Loegr.

G. 65. A ddarfu rhai Gweinidogion Ymneillduol betruso eu cymwyso eu hunain fel hyn?

A. Er fod rhai o honynt yn gwneuthur heb un anhawsder, yr oedd eraill o honynt, hyd yn oed y rhai a gymeradwyent athrawiaethau yr Eglwys, yn gystal a'r rhai o syniadau gwahanol, yn gwrthod arwyddo yr Erthyglau ar orchymyn y swyddog gwladol, ac fel amod i bregethu yr efengyl, gan dybied y byddai hyn yn radd o gydnabyddiaeth o awdurdod yn y llywydd-

ion gwladol ag sydd yn niweidiol i ryddid Cristionogol, a hawl barn bersonol; ond yr oeddynt yn ewyllysgar i roddi pob sicrwydd rhesymol am eu hymddygiadau fel deiliaid da.

G. 66. A oedd y *Lleygwyr Ymneillduol* yn agored i unrhyw anhawsderau o'r rhai ni waredodd Deddf y Goddefiad hwynt?

A. Ni ddarparodd Deddf y Goddefiad unrhyw ymwared i athrawon ac ysgolfeistriaid Ymneillduol; ond yr holl Ymneillduwyr a gadwent ysgolion cyhoeddus, neu a ddysgent ieuenctyd mewn unrhyw dŷ anedd, oeddynt yn agored (heblaw colli eu hysgolion) i ddirwy o *ddeugain punt,* a dyoddef tri mis o garchar. Ni allasai neb fod yn addas yn ol y gyfraith i gadw ysgol neu addysgu ieuenctyd, heb drwydded oddiwrth yr Archesgob, neu Raglaw yr Esgob, a datgan ei gwbl gyd-ffurfiad ag Eglwys Loegr.

G. 67. A ddarfu yr *Ymneillduwyr* erioed geisio *ymwared cyfreithiol* rhag y gormesion hyn?

A. Yn y flwyddyn 1772, corff y Gweinidogion Ymneillduol yn Llundain a ddygasant Ysgrif i'r Senedd i'r perwyl hwn, yr hyn a gymeradwywyd gan y rhan fwyaf o'u brodyr yn y wlad. Ond er iddi fyned drwy Dŷ 'r Cyffredin, hi a daflwyd allan o Dŷ yr Arglwyddi, drwy fod eisteddfod o Esgobion yn arfer eu dylanwad yn ei herbyn. Yr eisteddiad nesaf, Gweinidogion Llundain gyda chydsyniad y cyffredinolrwydd o'r rhai oedd yn y wlad, a adnewyddasant eu cais, ond heb ddim llwyddiant; er fod ganddynt lawer o ddadleuwyr dysgedig yn y Tŷ Uchaf, yn gystal a'r Tŷ Isaf, y rhai a amddiffynasent eu hiawnderau yn y fath fodd ag a wnai anrhydedd neillduol i'w hachos, a meithrin gobaith am ymwared mewn rhyw gyfnod dyfodol.[1]

1 Darfu Esgob Lincoln, er anrhydedd i'w gyffadwriaeth, sefyll dros yr Ysgrif, ac yn erbyn ei frodyr.

*Dr. Law*, Esgob *Carlisle*, yn fuan wed'yn a'i glanhaodd ei hun oddiwrth y gyhuddiad o fod yn wrthwynebol i ryddid, mewn cyhoeddiad ardderchog a elwid, "*Ystyriaethau ar y priodoldeb o geisio arwyddo yr Erthyglau, &c.*, yn yr hwn y dengys yn nerthol ei gymeradwyaeth o ysgrif yr Ymneillduwyr, a'i barch cyfeillgar iddynt hwy eu hunain.

G. 68. A gafodd yr Ymneillduwyr wedi hyny yr ymwared a geisiasant mewn perthynas i arwyddo Erthyglau?

A. Do; yn y flwyddyn 1779, heb un erfyniad chwanegol o'r eiddynt hwy, gwnaed Deddf Seneddol, drwy yr hon y mae manteision Deddf y Goddefiad yn cael eu caniatâu i Weinidogion Ymneillduwyr Protestanaidd, ac Ysgolfeistriaid, ar yr amod iddynt gymeryd y llwon o ufudd-dod i'r llywodraeth ac uchafiaeth y Brenin, gwneyd ardystiad yn erbyn Pabyddiaeth, a datgan eu crediniaeth o'r Ysgrythyrau Sanctaidd, fel yn cynwys Dwyfol Ddatguddiad.[1]

——ooo——

## PARHAD YR HANES, GAN Y CYHOEDDWR.

G. 69. Beth oedd y *cynygiad penaf* a wnaed i geisio cyfyngu *Deddf y Goddefiad, a chwtogi rhyddid crefyddol* o fewn y canrif hwn?

A. Ysgrif arglwydd *Sidmouth*, yr hwn a draddodadd ei araeth gyntaf mewn perthynas iddi yn Nhŷ yr Arglwyddi ar yr ail ddydd o Mehefin, 1809, gan hysbysu, "fod ganddo sail i gredu fod llawer o ddynion yn cymeryd trwyddedau fel Gweinidogion Ymneillduaidd dan Ddeddf y Goddefiad, heb un dyben amgen na chael rhyddhad oddiwrth swyddau plwyfol, a'r milwyr cartrefol."

1 Dr. *Ross*, Esgob *Caerwysg*, ar y 30ain o'r Ionawr blaenorol, a draddododd bregeth dra diragfarn ger bron Tŷ yr Arglwyddi, yn yr hon y llefarodd yn gadarn dros ganiatau i'r Ymneillduwyr y rhyddid a geisiasant. Nis gellid yn awr, yn wir, ei ameedd gydag unrhyw rith o briodoldeb neu gyfiawnder, gan fod Ysgrif newydd fyned trwy y Senedd dros ganiatau ymwared i'r *Pabyddion*; yr hon Ysgrif a fawr gymeradwywyd gan yr Ymneillduwyr Protestanaidd. Y gwrthwynebiad a wnaed iddi gan y Gymanfa Brotestanaidd, a gyfrifwyd i'r Ymneilluwyr (yn enwedig gan Esgob *Newton* yn hanes ei fywyd,) ac a ddygir fel prawf o'u hyspryd erlidgar, ond yn hollol annghyfiawn; ond er y gallai fod rhai yn ddigon annghyson i ymuno a'r Gymanfa, eto, y cyffredinolrwydd o honynt a annghymeradwyasant yr egwyddorion ar ba rai y ffurfiwyd hi; ac ni ddarfu gymaint ag un gweinidog Ymneillduol rheolaidd yn Llundain arwyddo eu deiseb i'r Senedd.

Mae yn debyg, gan hyny, mai dichell uchel eglwyswyr oedd hon, fel llawer o'i bath, dan rith sêl yn erbyn Pabyddiaeth, gydag ymdrech i gael yr Ymneillduwyr i'r fagl, ac wedi llwyddo i gael rhyw rai anwybodus a diegwyddor, a alwant eu hunain felly i ymuno, ac yna ceisio duo pawb o honynt, o herwydd annghysonder rhyw ychydig nifer o'r fath gymeriadau. Dyolch am fod eu nifer mor fychan mewn byd mor lygredig. O.

G. 70. Pa *gyfnewidiadau* a fwriadai ei arglwyddiaeth eu cynyg yn *Neddf y Goddefiad?*

A. Darfu eisteddfod y Dirprwywyr er amddiffyn iawnderau gwladol Ymneillduwyr Protestanaidd drefnu eisteddfod i ymgyngori a gweinidogion y tri enwad, ac i fyned at arglwydd *Sidmouth* i gael gwybod pa gyfnewidiadau a fwriadai eu cynyg, pryd y darfu ei arglwyddiaeth amlygu yn rhwydd ei fwriad i ddwyn ysgrif i'r Senedd er atal i neb gael trwydded fel pregethwr, neu ddysgawdwr, nes cyraedd *un-ar-hugain* oed, wedi ei osod ar gynulleidfa, a gallu dwyn tystiolaethau ysgrifenedig o'i gymwysder i'r swydd, oddiwrth ryw bersonau o'r un gred grefyddol ag yntau. Darllenwyd yr ysgrif yn Nhŷ yr Arglwyddi y waith gyntaf ar y *nawfed* o Fai, 1811, ac wedi rhai sylwadau gan yr Arglwyddi *Holland a Stanhope*, rhoddodd ei arglwyddiaeth rybudd i gynyg yr ail ddarlleniad ar y 17eg o'r un mis.

G. 71. Pa beth a wnaeth y *Dirprwywyr* yn y *cyfamser?*

A. Galwyd cyfarfod gan y cadeirydd ar y 13eg, a chafodd yr ysgrifenydd adysgrif o'r ysgrif, ac argraffwyd dwy fil o honynt, gan eu hanfon drwy 'r deyrnas; ac ar y 15fed dydd, bu ganddynt gyfarfod cyffredinol, pryd y cytunwyd yn unfrydol, "Fod rhyddid cydwybod i ymgyfarfod i addoli Duw, ac addysgu eu gilydd, gan athrawon o'u dewisiad eu hunain, yn hawl ddiymwad pob dyn; ac yn heddychol arferiad o hyny nad ydynt, yn gyfiawn, dan reolaeth y swyddog gwladol—Fod y rhyddid hwn yn cael ei gydnabod yn gyffredinol yn arferiad y llywodraeth Frytanaidd, er y Chwyldroad, dan Ddeddf y Goddefiad—Eu bod yn sylwi gyda gofid ar ysgrif a ddygwyd i'r senedd yn ddiweddar, yn ymddangos a'i thuedd i gyfyngu y cyfryw ryddid, ac i ddifeddiannu y werin o'u manteision—Fel rhai wedi eu dewis gan ddosparth lluosog a pharchus o Ymneillduwyr Protestanaidd i amddiffyn eu hiawnderau, eu bod yn rhwymedig i arfer pob moddion priodol i atal yr ys-

grif rhag myned yn gyfraith. A bod deiseb seiliedig ar y pethau hyn wedi ei harwyddo gan yr aelodau i gael ei chyflwyno i'r senedd. Ac i'r cynygiadau hyn gael eu cyhoeddi yn yr holl Newyddiaduron.

G. 72. A ddygwyd *yr ail ddarlleniad* yn mlaen ar yr 17eg?

A. Na ddo; cafodd ei ohirio, yn annisgwyliadwy hyd yr 21ain, yr hyn a roddodd gyfle i gael enwau wrth y deisebau, ac a ddefnyddiodd y Dirprwywyr, a'r Trefnyddion Wesleyaidd mor dda, fel pan ddaeth yr amser yr oedd dros *saith gant* o ddeisebau yn erbyn yr ysgrif yn barod i'w cyflwyno i Dy 'r Arglwyddi.

G. 73. Pa fodd y *bu pethau* ar yr 21ain?

A. Cyflwynodd Iarll *Stanhope* ddeiseb yn erbyn yr ysgrif wedi ei harwyddo gan fwy na *dwy fil* o ddynion, ac hysbysai ei fod yn barnu, os gwesgid hi yn mlaen, y byddai raid rhifo y deisebwyr wrth y *miliwnau.* Iarll *Llynlleifiad* a awgrymodd ei haeddbarch gyfaill y priodoldeb o dynu yr ysgrif yn ol. Yna cyflwynwyd y deisebau yn erbyn yr ysgrif, ac Arglwydd *Sidmouth* a lefarodd drosti yn helaeth, yr hwn a ddilynwyd gan *Archesgob Caergaint* mewn araeth ddiragfarn. Yna Arglwydd *Erskine* a ymresymodd yn nerthol, gan gynyg fod yr ail ddarlleniad i gael ei oedi am *chwe'* mis; yr hwn a ddilynwyd gan yr Arglwydd *Ganghellydd*, Arglwydd *Holland*, Ieirll *Stanhope*, *Buckingham*, a *Grey*; ac Arglwydd *Sidmouth*, mewn atebiad. Yna cytunwyd yn unfrydol a chynygiad *Arglwydd Erskine*, a'r ysgrif drwy hyny a gollwyd.

G. 74. A fu hyn yn *achlysur i'r Ymneillduwyr* gael rhyw *ymwarediad* ychwanegol?

A. Do, cafwyd mewn canlyniad iddo Ddeddf newydd y Goddefiad, a gyfenwir "Deddf er diddymu Deddfau neillduol, (sef *Deddf* y *Cyfarfodydd Anghyfreithlawn*, a *Deddf Rhydychain*, neu Ddeddf y *pum' milltir*, a wnaed yn amser *Siarls* II.) a diwygio Deddfau eraill perthynol i addoliad crefyddol, a chynulliadau, a phersonau fyddo yn dysgu neu bregethu ynddynt;" a hon i'w Deddf y Goddefiad yn awr.

G. 75. Pa fodd y diddymwyd y *Deddfau Bwrdeisiol a Phrawfol*?

A. Er i'r Ymneillduwyr, a'r cyffredinolrwydd o bleidwyr rhyddid, fod yn aflwyddianus yn eu cais am hir amser, a chael eu herlid a'u drwgliwio gan eu gwrthwynebwyr, nid oeddynt yn pallu yn eu hymdrech; drwy hyny, yr oedd eu cais yn cael ei ddeall yn well, a'u pleidwyr yn amlhau beunydd, fel nas gallesid parhau y deddfau gorthrymus hyn ar Ddeddflyfr Prydain yn hwy, gydag anrhydedd na dyogelwch iddi; fe aeth yr ysgrif am eu diddymiad yn llwyddianus drwy'r Senedd; ac ar y *nawfed* dydd o Fai, 1828; darfu Sior IV. ei harwyddo yn freiniol, er llawenydd i bob dyngarwr a christion, ac anrhydedd iddo ei hun.

G. 76. Pa beth hefyd a wnaed *o du rhyddid yn y teyrnasiad* hwn?

A. Deddf Rhyddfreiniad y Pabyddion, y rhai a fu yn aflwyddianus yn eu cais am hir amser; drwy eu diysgogrwydd hwy eu hunain, a chymorth pleidwyr rhyddid, a ganiatawyd iddynt ar y *trydydd-dydd-ar-ddeg* o fis Ebrill, 1829.

G. 77. A oedd yr *Ymneillduwyr* yn bleidiol i Rydd-freiniad y *Pabyddion*?

A. Oeddynt; a chynorthwyasant yn nygiad yr ysgrif drwy'r Senedd; canys er eu bod yn gwbl wrthwynebol i gyfundraeth grefyddol y Pabyddion, y maent, yn ol eu hegwyddorion am i bawb fod yn gydradd, fel gwladyddion, beth bynag fyddo eu syniadau crefyddol.

G. 78. Pa *Ddeddf fuddiol* a wnaed yn nheyrnasiad *Gwilym* IV.?

A. Deddf y Diwygiad Seneddol, yn 1831, yr hon sydd yn gwellhau y cynrychiolaeth i'r deyrnas yn y Senedd, ac yn rhwystro llawer o ddrygau mewn etholiadau, felly yn wasanaethgar i ryddid, er nad yw yn dal perthynas uniongyrchol a chrefydd.

G. 79. Pa *Ddeddf* a wnaed yn y *teyrnasiad* hwn ag a barodd orfoledd mawr i *Ddyngarwyr* a *Chrefyddwyr*?

A. Deddf rhyddhad y caethion yn holl daleithiau Prydain, yn mhob rhan o'i llywodraeth, yr hon a ddaeth mewn grym y *dydd cyntaf* o Awst,. 1834, er caniatâu iawnderau i ddosparth lluosog o'n *cyd-ddynion*, megis creaduriaid rhesymol, yn deuluaidd a pherthynasol, gwladol a chymdeithasol, a moesol a chrefyddol; fel y cafodd cenhadon ac athrawon lonyddwch i gyfranu gwybodaeth iddynt, ac y daethant hwythau i'w gwerthfawrogi, fel y mae gwareiddiad a chrefydd yn cynyddu yn eu mysg o hyny allan.[1]

G. 80. A wnaed rhyw *Ddeddf* arall yn tueddu i les *cyffredinol, ac i helaethu rhyddid crefyddol* wedi 'n?

A. Do, Deddf y Cofrestriad gwladol o enedigaethau a marwolaethau a ddaeth i rym yn mis Mehefin, 1837, yn ol yr hon y mae Eglwyswyr ac Ymneillduwyr yn rhwymedig fel eu gilydd i'w defnyddio, ac y mae yn fanteisiol mewn pethau gwladol.[2]

1 Tybir mai y Portugiaid a ddechreuodd y gaethfasnach, ac i Brydain ymuno ynddo tuag ugain mlynedd yn ddiweddarach, sef yn 1551, pryd yr oedd gwareiddiad a chrefydd yn dra isel ynddi. Cyn hyny yr oedd Affrica yn waraidd a rheolaidd fel gwlad, eithr y fasnach warthus mewn dynion, a'i barbreiddiodd, ac agos a'i diboblogodd, gan ei bod wedi achosi marwolaeth mwy na *chan miliwn* o'n cyd-ddynion.—"See an Address delivered in the Town Hall of Denbigh, July 18th, 1832, to the Burgesses and other Electors of that place, by a Burgess." Parai hyn i feddianwyr y caethion fod yn elynion i bregethiad yr efengyl, a rhoddiad addysg iddynt, o hyn y mae erledigaeth a marwolaeth y Parch. J. Smith o Demarara, yn engraifft nodedig. Gwel Evan. Magazine, a'r Dysgedydd am 1824. Mae America, er cymaint ei hymffrost o ryddid, ac ynddi luaws o gaethion eto, ac y mae achos i ofni fod rhai eraill *yn ddirgelaidd* yn gwneyd yr hyn a allant yn, a thros y fasnach. Er hyny, y mae ei diwedd yn agos, cydweithiwn fel dyngarwyr, gwladwyr, a Christionogion, i ddywedyd,

"O Brydain brydweddol! "Arglwyddes y dòn,"
Na âd i un gaethlong ymrwygo drwy hon;
Cwyd Faner wen Rhyddid, nes gwawrio y dydd
I'r *olaf* gael dianc o'i gadwyn yn rhydd."—S.R.

2 Goreu po gyntaf i rieni gofrestru eu plant, yr hyn a ellir ei wneyd heb unrhyw daledigaeth o fewn chwech wythnos o ddydd yr enedigaeth; ar ol hyny rhaid talu saith a chwech, ac nid ellir cofrestru *oll* ar ol mwy na *chwe' mis*, oddieithr plant a aner ar fordaith; os esgeulusa y rhieni hyn, fe gyll eu plant bob mantais ddeilliedig oddiwrth gofrestriad. Y cof-lyfrau newyddion a ddefnyddir gan y cof-restrwyr lleyg, ydynt yr *unig* gof-lyfrau a ddarbodir gan y gyfraith o enedigaethau a marwolaethau, a chof-restriad ynddynt sydd yn gyfartal rwymedigol ar bawb o bob barn grefyddol, yn Eglwyswyr ac yn Ymneillduwyr, ac y mae pob adysgrif a geir gan y cof-restrwr, yn dderbyniol fel tystiolaeth o enedigaeth neu farwolaeth yn unrhyw lŷs cyfraith. Dylid os gallusadwy, gofrestru *marwolaeth* cyn dydd y *gladdedigaeth*, a mynu ysgrif-brawf o hyny gan y cofrestrwr, (heb un tâl,) i'w dangos i'r gweinidog a fyddo yn gweini yn y claddedigaeth, yr hwn, os na wneir hyny, a fydd yn agored i ddirwy, oddieithr iddo o fewn saith niwrnod roddi rhybudd i'r cofrestrwr. Gwel y "*Rhybudd o'r Swyddfa Gof-restrol Gyffredinol, Mehefin*, 1837."

Diahon y byddai yn gyfleus i gadw cof-lyfr eglwysig o'r bedyddiadau, ac o

G. 81. A ydyw y *Briodasddeddf newydd* a wnaed yn yr un flwyddyn yn fanteisiol i'r *Ymneillduwyr*?

A. Ydyw; gan y gallant briodi yn eu capelau eu hunain, a chan eu gweinidogion eu hunain, heb gydffurfio a gwasanaeth a annghymeradwyant, yn cael ei chyflawni gan weinidogion nad ydynt yn teimlo dyddordeb yn eu gweinyddiad o honi.

G. 82. Pwy sydd yn *gweinyddu* y *briodas* yn *addoldai* yr *Ymneillduwyr*?

A. Y Gweinidog; yr hwn sydd yn arwyddo y Coflyfr fel y cyfryw, a'r tystion fel rhai yn bresenol, a'r Cof-restrwr yn ei swydd, fel Cof-restrwr yn unig.

# YR AIL RAN.

### Y RHESYMAU DROS YR YMNEILLDUAETH BROTESTANAIDD ODDIWRTH YR EGLWYS SEFYDLEDIG.

G. 1. Beth yw y prif *egwyddorion* ar ba rai y mae

enw y plentyn a'i rieni, er fod deddf y cof-restriad yn ei gwneyd yn ddiangenrhaid i gofnodi ei enedigaeth, "*Report of the Congregational Union*," *for* 1837, p. 41.—Cyn gwneyd y gyfraith hon, golygid cof-res yr Eglwys sefydledig yn ddiffygiol, gan nad oeddynt ond *yn unig* o fedyddiadau a chladdedigaethau; ac nid genedigaethau a marwolaethau, "*Rhybudd o'r Swyddfa, &c.*, 1837. Yr oedd cof-res yr Ymneillduwyr yn gyflawnach yn hyny.

D. S. Er cofrestru capel at briodi ynddo, rhaid ei fod wedi ei ddefnyddio i addoli ynddo am flwyddyn o leiaf, ac wedi ei gofrestru at hyny, yn ol darbodaeth 52 Sior III. pen. 155, ac i un o'r ymddiriedolwyr, ac ugain neu fwy o rai yn cadw tai eu hunain yn y gymdogaeth, anfon cais ysgrifenedig at gofrestrwr-arolygawl yr Undeb, yr hwn a rydd y drwydded briodol i hyny, am yr hon y rhaid talu *tair punt*. Mae un o'r rhai sydd ar feddwl priodi i fyned i'w swyddfa i roddi rhybudd yn ol yr hyn a geisir ganddo; ac yn mhen un ar hugain o ddyddiau heblaw dydd y rhybudd, fyned yno i gael *hyspysiad* o hyny, yr hwn a roddir i'r gweinidog, fel y gallo yntau ei roddi i'r cofrestrwr ar ddydd y briodas. Os bwriedir priodi trwy drwydded, rhaid i un o'r pleidiau fyned ato, a gwneyd llŵ, neu hyspysiad difrifol, nas gŵyr am un rhwystr cyfiawn i'r briodas; ac os bydd un o honynt dan un ar hugain oed, rhaid cael cydsyniad y tad, y fam os yn weddw, neu ymgeleddwyr os bydd rhai, a gellir priodi yn mhen saith niwrnod wedi rhoddi y rhybudd.—Y talion gofynol ydynt, i'r cofrestrwr-arolygawl, swllt wrth roddi y rhybudd, a swllt am yr hyspysiad; a *thair punt* am drwydded, heblaw y *stamp*: i'r cofrestrwr am fod yn bresenol mewn priodas drwy rybudd pum swllt, drwy drwydded deg swllt: am mai arno ef yn unig y mae y gofal o gofrestru y briodas; a rhoddion gwirfoddol yn *unig* i'r gweinidog. Gellir os myner, briodi yn swyddfa y cofrestrwr-arolygawl, gan gofrestru y priodasau. Bu amryw gyfnewidiadau ar ddeddfau priodasau yn Lloegr o amser Hari VIII. hyd oni wnaed y ddeddf hon. Nid yw hyny o ganlyniad yn beth newydd, er maint a gablodd rhai uchel Eglwyswyr arni, y rhai a'i gwnaeth, a'r rhai a'i harferant. Dyolched Ymneillduwyr am y fraint hon, gan ei defnyddio hefyd, er argyhoeddi y cyffredin mai nid peth ofer ganddynt oedd ei cheisio.

yr Ymneillduwyr Protestanaidd yn *seilio* eu neillduad oddiwrth yr Eglwys a sefydlir drwy gyfraith?

A. Yr hawl o farn bersonol a rhyddid cydwybod, yn ngwrthwyneb i bob dynol awdurdod mewn pethau crefyddol; goruchafiaeth Crist megis unig ben ei eglwys, a digonolrwydd yr Ysgrythyrau sanctaidd fel rheol ffydd ac ymarferiad.

G. 2. Onid ydyw yr Ysgrythyr yn gorchymyn i ni ymddarostwng i'r llywydd gwladol, *fel gweinidog Duw, o herwydd cydwybod?*

A. Ydyw, yn ddiau mewn achosion gwladol, ond nid mewn pethau crefyddol, llawer llai mewn pethau croes i gyfraith Duw, canys nis gall Duw ei wadu ei hun; felly ni ddylid ufuddâu i ddim deddfau dynol a fyddo yn annghyson a'r rhai dwyfol. Rhuf. xiii. 1--5.

G. 3. A ydyw pob dyn yn bersonol i farnu drosto ei hun, pa un a ydyw deddfau ei wlad yn unol a deddfau Duw?

A. Ydyw yn sicr, mewn pethau crefyddol, dylai pob dyn farnu drosto ei hun, gan fod yn rhaid i bob dyn roddi cyfrif drosto ei hun i Dduw, yr hwn a roddodd i ni reol anffaeledig yn ei air i'n cyfarwyddo, a galluoedd rhesymol i'w ddeall, y rhai y mae pob dyn yn bersonol mor gyfaddas i'w defnyddio er canfod ffordd y gwirionedd a dyledswydd a'r llywodraethwyr a chymdeithasau mawrion o ddynion. Heblaw hyny, peth rhesymol yw crefydd, ac nid yw yn teilyngu yr enw ddim pellach nag y mae yn effaith argyhoeddiad a dewisiad. Rhuf. xiv. 12.

G. 4. Oni orchymynir i ni yn yr ysgrythyr i ufuddhau i'n *llywodraethwyr ysprydol*? Heb. xiii. 7—17.

A. Nis gwyddom am unrhyw lywiadwyr ysprydol a chanddynt deilyngach hawl i ffydd ddiamodol, ac ufudd-dod cyffredinol, na llywiawdwyr gwladol. Y mae gair Duw yn gwahardd yn benodol i Gristionogion roddi i fynu eu cydwybod i gyfarwyddiadau unrhyw ddyn;[1] a'r Apostolion eu hunain a wrthod-

[1] Ac na elwch neb yn dad i chwi ar y ddaear—ac na'ch galwer yn athrawon: canys un yw eich Athraw chwi, sef Crist. Mat. xxiii. 9, 10. Eithr yn ofer y'm hanrhydeddant i, gan ddysgu gorchymynion dynion yn ddysgeidiaeth. Mat.

asant bob awdurdod arni,[2] ac a anogasant eu gwrandawyr i chwilio a barnu drostynt eu hunain.[3]

G. 5. A oes unrhyw engreifftiau yn yr *Ysgrythyrau* o ddynion doethion a da *yn gwrthod cydffurfio* a'r grefydd wladol *sefydledig*?

A. Oes; Daniel a ddilynodd gyfarwyddiadau ei gydwybod ei hun i weddio o flaen ei Dduw, fel yr arferai wneyd, pan oedd y Brenin wedi cyhoeddi cyfraith yn erbyn hyny; felly hefyd y gwnaeth y tri llanc Hebreaidd, gan wrthod cydffurfio ag addoliad y ddelw y darfu i Nebuchodonozor ei gosod i fynu. Dan. vi. 10; a'r iii. 16—18.

Yn y cyffelyb fodd apostolion Crist a anufuddasant i'r archoffeiriaid a'r llywiawdwyr Iuddewig, gan omedd cydffurfio a chrefydd eu gwlad, a phan eu ceryddwyd gan yr archoffeiriaid am droseddu eu gorchymyn, hwy a atebasant yn hyf, rhaid yw ufuddhau i Dduw yn fwy nag i ddynion. Act. v. 29.

G. 6. A ddichon i ychydig ddynion y rhai ydynt yn anfoddlon yn y grefydd wladol *gyhoeddi* eu syniadau eu hunain, ac *addoli Duw* yn eu hol hwynt mewn *lleoedd o'r eiddynt eu hunain*?

A. Os oes gan ddynion hawl i farnu drostynt eu hunain, y mae ganddynt hawl gyfartal i weithredu[4]

xv. 9. Sefwch gan hyny yn y rhyddid a'r hwn y rhyddhaodd Crist ni. Gal. v. 1.

2 Nid am ein bod yn arglwyddiaethu ar eich ffydd chwi, ond yr ydym yn gydweithwyr i'ch llawenydd. 2 Cor. i. 24. Nid fel rhai yn tra-arglwyddiaethu ar etifeddiaeth Duw, ond gan fod yn esiamplau i'r praidd. 1 Pedr v. 3.

3 A Philip a ddywedodd wrtho, (Nathanael,) Tyred a gwel. Ioan i. 46. A phaham nad ydych, ië, o honoch eich hunain, yn barnu yr hyn sydd gyfiawn? Luc xii. 57. A'i cyfiawn yw ger bron Duw, wrando arnoch chwi yn hytrach nag ar Dduw, bernwch chwi. Act. vi. 19. Y rhai hyn (Bereaid) oedd foneddigeiddiach na'r rhai oedd yn Thessalonica, y rhai a dderbyniasant y gair gyda phob parodrwydd meddwl, gan chwilio beunydd yr Ysgrythyrau, a oedd y pethau hyn felly. Act. xvii. 11. Dywedyd yr wyf fel wrth rai synhwyrol: bernwch chwi beth yr wyf fi yn ei ddywedyd. 1 Cor. x. 15. Bydded pob un yn sier yn ei feddwl ei hun. Rhuf. xiv. 5. Profwch bob peth: deliwch yr hyn sydd dda. 1 Thes. v. 21.

4 Gwel Draethawd gorchestol y Dr. Furneau ar oddefiad, adran 3.

Y mae dechreuad, adfywiad, a pharhad crefydd ddwyfol, yn gymdeithasol, wedi, ac yn cael ei achosi gan Annghydffurfiaeth, neu Ymneillduaeth oddiwrth sefydliadau, ac arferion gwladol llygredig. Mae y rhai a ganlyn yn engreifftiau;—ymneillduaeth Seth a'i hiliogaeth oddiwrth yr eiddo Cain. Yna dechreuwyd galw ar enw yr Arglwydd, neu yn hytrach, Yna y dechreuasant eu galw eu hunain ar enw yr Arglwydd. Gen. vi. 26. Cydffurfiaeth a hiliogaeth annuwiol Cain a ddechreuodd y diluw o lygredigaeth cyffredinol, ac a dynodd y diluw dwfr cyffredinol. Gen. vi. 1, 2. Ymneillduaeth Abraham, o'i wlad, oddiwrth ei genedl, a thŷ ei dad, a gadwodd y wir grefydd yn mhlith ei hiliogaeth. Gen. xii. 1—3. Jos. xxiv. 2. 3. Heb. xi. 8. Yr oedd yr Iuddewon i

yn ol eu barn a'u cydwybod, ac y mae yn ddyledswydd rwymedig arnynt i wneuthur hyny. Felly lle y byddo dynion yn barnu fod y ffurfiau sefydledig o grefydd yn anysgrythol neu ddiffygiol,y mae gofal am eu hadeiladaeth eu hunain, a lleshad gwir grefydd, yn gofyn iddynt ymneillduo. Ar yr egwyddor hon yr ymneillduodd y Cristionogion cyntaf oddiwrth yr eglwys Iuddewig, a'r dychweledigion cenhedlig oddiwrth sefydliadau Paganaidd, ac eglwys Loegr oddiwrth eglwys Rhufain.

G. 7. Oni ddylem ni fod yn dra *gochelgar* pa fodd yr ymddidolom oddiwrth Eglwys *Gristionogol a Phrotestanaidd*?

A. Diameu mai nid pob amgylchiadau bychain a dibwys a gyfiawnhâ ymddidoliadau yn mysg Cristionogion. Ond y mae yr Ymneillduwyr yn barnu fod seiliau eu hymddidoliad oddiwrth eglwys Loegr mor lluosog a phwysig, ag sydd yn gwbl ddigonol i'w cyfiawnhau hwynt ynddo.

G. 8. Beth yw y prif bethau yn eglwys Loegr ar ba rai y mae *Ymneillduaeth* oddiwrthi yn sylfaenedig?

ymneillduo oddiwrth ddefodau llygredig y Canaaneaid. Num. xxxiii. 52—56. Deut. vii. 1—6; ac am na wnaethant hyny yn barhaus y cawsant eu dynystrio drwy y Babiloniaid. Deut. xxxii. 16, 17. Ps. cvi. 34—42. Annghydffurfwyr oedd yr Iuddewon duwiol yn Babilon Dan. iii, a'r vi benod. Ymneillduo oddiwrth bobl y gwledydd a wnaeth y rhai a ddychwelasant o'r caethiwed. Ezra vi. 21. Neh. ix. 2. a'r x. 28, 29. Felly Moses, Heb. xi. 24—26: a'r Prophwydi, 2 Bren. xvii. 13: Ioan Fedyddiwr, Luc. i. 17. Crist ei hun, Mat. xxi. 23, 24. Yr apostolion, Ioan xv. 19: ac heblaw y rhai a enwir yn yr atebiad blaenorol. Gallem chwanegu tystiolaeth Hume, yr hwn nis gellir meddwl ei fod yn *bleidiol dros grefydd*, ac yn euwedig annghydffurfiaeth, pan ysgrifenodd, Fod Lloegr yn ddyledus i'r Puritaniaid (y rhai oeddynt annghydffurfwyr) am y cyfan o ryddid ei chyfansoddiad. Drwy Ymneillduaeth drwyadl a gwirioneddol y ceir derbyniad gan yr Arglwydd, y cyhoeddir athrawiaeth, ac y gweinyddir dysgybliaeth yn ol yr efengyl. 2 Cor. vi. 14—18: ac y dyogelir dynion rhag bod yn gyfranog o bechodau a phlaau Babilon ysbrydol. Dat. xviii. 4. Gwelir y niwaid o beidio gweithio allan yr ysbryd hwn, mewn ffeithiau o'r America, pan aeth y Puritaniaid, o herwydd eu bod yn cael eu herlid yn Lloegr, yno gyntaf, yr oeddynt oll yn barnu mai dynion yn dwyn ffrwythau addas i edifeirwch oedd i fod yn aelodau eglwysig, eithr yn raddol meddyliasant fod y rhai a fedyddiwyd yn eu babanod, yn deall athrawiaeth y ffydd, ac yn arddel eu cydsyniad a hyny, os yn foesol yn eu bywyd, a chanddynt hawl i aelodaeth eglwysig. Wedi hyny, aeth yno rai yn coleddu y dyb fod y plwyfau yn Lloegr yn wir eglwysi Cristionogol, a chawsant hwy a'u syniadau groesawiad, yr hyn a achosodd ddirywad yn y ddysgyblaeth, ac yn y weinidogaeth. Pan gyfododd rhagluniaeth y nef yr enwog Jonathan Edwards i wrthsefyll y drygau a fagesid drwy hyny, bu cymaint terfysg yn ei gynulleidfa yn Northhampton, nes achosi ei symudiad oddi yno, ar ol hir flynyddau o lafur a defnyddioldeb. *See the Christian Witness for April*, 1850. p. p. 145—151. *Compared with Edward's Life, connected with his Works*. Gwelir yn hyn lawer o ddefnyddiau addysg a gocheliadau i weinidogion ac eglwysi o bob enw yn Nghymru. O.

A. 1. Ei hansawdd a'i chyfansoddiad cyffredinol fel y mae yn wladol a sefydledig.

2. Nodwedd ac awdurdod rhai swyddogion gosodedig ynddi.

3. Yr *arddodiad* o ffurf wastadol o weddi, a elwir y "Weddi Gyffredin," a llawer o bethau beius a gynwysir ynddi.

4. Yr hawl ffugiol i orchymyn seremoniau anysgrythyrol.

5. Yr amodau ar ba rai y derbynir gweinidogion i'w swydd.

6. Y diffyg o ryddid yn y bobl i ddewis eu gweinidogion eu hunain.

7. Sefyllfa lygredig ei dysgybliaeth.

# ADRAN I.

## AM ANSAWDD A CHYFANSODDIAD CYFFREDINOL EGLWYS LOEGR.

G. 9. Beth y mae 'r *Ymneillduwyr* yn olygu yw y darluniad ysgrythyrol o *Eglwys Crist*?

A Cynulleidfa, neu gymdeithas wirfoddol o Gristionogion, y rhai yn gyffredin a ymgyfarfyddant yn nghyd yn yr un lle, i ymarfer ag ordinhadau yr efengyl; ac y maent yn barnu fod gan bob cyfryw gymdeithas hawl i drin ei hachosion ei hun, yn ol barn a chydwybod yr aelodau perthynol iddi, yn annybynol ar unrhyw gymheithas arall o un math, neu heb fod yn gyfrifol i neb ond Iesu Grist, neu gael eu hatal gan ddim deddfau ond yr eiddo ef.

G. 10. Pa fodd yr ymddengys mai y golygiad hwn o Eglwys Crist ydyw yr un *Ysgrythyrol*?

A. Mae nifer o Gristionogion yn ymgynull i addoliad dwyfol mewn tŷ anedd yn cael eu galw yn eglwys,[1] yn yr Ysgrythyr. Lleferir am yr eglwys

[1] "*Annerchwch* hefyd yr eglwys sydd yn eu tŷ hwy." Rhuf. xvi. 5. Gwel

fel yn dyfod yn nghyd i'r un lle.[2] Pan fyddai amgylchiadau perthynol i eglwys i gael eu penderfynu gelwid yr holl aelodau yn nghyd i roddi eu meddwl.[3] Ac nid ydym yn cael fod un math o oruwch awdurdod yn cael ei chydnabod na'i hôni.

G. 11. Yn mha bethau y mae cyfansoddiad *eglwys Loegr yn gwahaniaethu* oddiwrth yr hanes am *eglwys yn y Testament Newydd*?

A. Nid yw eglwys Loegr yn gymdeithas wirfoddol, golygir yr holl deyrnas fel aelodau o honi, pa un a fyddont yn proffesu hyny ai peidio; ac y maent yn rhwymedig wrth gyfraith (heblaw y rhai a gynwysir yn Neddf y Goddefiad) i gymuno gyda hi yn Swper yr Arglwydd, o leiaf dair gwaith yn y flwyddyn. Hefyd, y mae yn analluog (fel y mae yn wladol) i ymgynull yn nghyd i'r un lle, fel y gallo ei haelodau roddi eu pleidlais mewn pethau eglwysig; ac y mae yr amrywiol gynulleidfaoedd o ba rai y mae yn gynwysedig oll yn gydradd amddifad o'r rhyddid hwn, gan eu bod i gyd yn rhwymedig i unffurfiaeth trwyadl mewn ffydd, addoliad, a dysgyblaeth.

G. 12. Onid yw y gair *eglwys* yn arferedig yn yr Ysgrythyr mewn ystyr helaethach nag er dynodi *cynulleidfa neillduol?*

A. Ydyw, y mae weithiau yn arwyddo yr holl gorff o Gristionogion trwy'r byd,[4] a elwir yn aml, yr eglwys gyffredinol, neu *gatholic*; ond nis gall Eglwys Loegr fod, ac nid yw yn hóni bod yr un a hon,[5] canys rhaid i bob dyn deallus addef y gall llawer, yn yr ystyr hwn, berthyn i Eglwys Crist y rhai nid ydynt aelodau o Eglwys Loegr. Yna, mae'n eglur nad yw corff o bobl trwy'r deyrnas, y rhai a arferant y dull

hefyd, 1 Cor. xvi. 19. Philemon 2. Mae yn amlwg, fod yr amrywiol gynulleidfaoedd yn yr un dalaeth, yn cael llefaru am danynt yn y *rhif lluosog*, ac nid yr *unigol*, megis "*eglwysi* Judea, *eglwysi* Galatia," &c.

2 Act. ii. 1–46. a'r v. 12—14. 1 Cor. xiv. 23.

3 Act. vi. 2—6. a'r xv. 4—22.

4 Act. xx. 28. Eph. v. 25, &c.

5 D. S. Mae Eglwys Rhufain yn benodol yn hóni yn uchelfrydig ei bod yn *Eglwys Gatholic:* dichon mai oddiwrth hyny y deilliodd yr enw, ac Eglwysi gwladol hefyd.

Mae yn eiddus fod enw mor ragorol ag ydyw *Eglwys Gatholic*, neu Gyffredinol, wedi ei roddi i gymundeb mor llygredig a'r Papistiaid am gyhyd o amser, nes y mae rhai Cristionogion yn ei olygu fel wedi ei ddifwyno. O.

sefydledig o addoli i gael eu galw yn eglwys, yn yr ystyr ac yr arferir y gair yn y Testament Newydd, lle y mae yn wastad yn arwyddo naill ai cynnulleidfa neillduol, neu yr holl gorff o Gristionogion.

G. 13. Pa wrthwynebiad a wna yr Ymneillduwyr i *gyfansoddiad cyffredinol* Eglwys Loegr?

A. Ei bod yn sefydliad gwladol, wedi ei ffurfio gan awdurdod ddynol—ei chyfreithiau yn seiliedig ar ddeddfau seneddol, yn cael eu rhoddi mewn grym gan awdurdodau gwladol—a'r prif ynad, fel y cyfryw, yn oruchel ben iddi. Y mae Eglwys Crist, yn ol yr hanes ysgrythyrol am dani, yn gymdeithas o ddynion wedi ymuno yn unig mewn golygiadau crefyddol, cyfreithiau y rhai nid ydynt amgen na gair Duw, (yr hwn y mae ganddynt hawl i'w ddeongli drostynt eu hunain) awdurdod yr hwn sydd hollol ysprydol; a'i goruchel a'i hunig ben yw yr Arglwydd Iesu Grist.[1]

G. 14. Pa awdurdod sydd gan y *Brenin* yn Eglwys Loegr ag sydd yn ei osod ef yn *oruchel ben* iddi?

A. Y Brenin (neu y Frenines) a wisgir â phob awdurdod i arfer pob math o lywodraeth eglwysig; a'r Archesgobion, Esgobion, Archddeoniaid, a llênwyr eraill, ni feddant un math o awdurdod eglwysig, ond trwy a than ei fawrhydi y Brenin, gan yr hwn y mae cyflawn awdurdod i wrando a phenderfynu pob math o achosion eglwysig, ac i ddiwygio a chospi pob drygioni, pechod, cyfeiliornadau, a heresiau o bob math. (Y rhai hyn ydynt eiriau Deddf 26, Harri VIII. pen. 1.) Gosod Esgobion hefyd yw ei uchelfraint ef, a'r hawl o urddo a ddaw oddiwrtho ef, ac a ddelir ganddo wrth ei ewyllys.[2]

G. 15. Pa wrthddadl sydd gan Ymneillduwyr yn erbyn yr awdurdod hon o eiddo y Brenin?

A. Er eu bod yn ei golygu yn ddyledswydd arnynt anrhydeddu ac ufuddhau i'r Brenin mewn achosion *gwladol*, y maent yn barnu fod yr awdurdod ag a

1 Ioan xvii. 16. a xviii. 36. Salm xix. 7. Eph. ii. 20. Sylwnod ar Gof. 4. 2 Cor. x. 4. Eph. i. 22.

2 Yr awdurdod hon a drosglwyddodd Harri VIII. iddo ei hun oddiar y Pab, (pan amrafaeliodd ag ef yn nghylch ysgariad y Frenines) a Breninoedd a Breninesau Lloegr a'i meddianasant byth ar ol hyny.

rydd ein cyfansoddiad iddo mewn achosion *crefyddol*, nid yn unig yn anmherthynasol i'r swydd o lywydd gwladol, eithr yn anfri mawr ar anrhydedd Crist, yr hwn a osododd Duw "yn ben uwchlaw pob peth i'r Eglwys," ac yn gyfyngiad gwrthun ar ryddid Cristionogion, y rhai mewn pethau ffydd a chydwybod a waherddir i fod yn weision dynion. 1 Cor. vii. 23.

G. 16. Onid ydyw er lles i grefydd i gael awdurdod y Prif Swyddog o'i phlaid?

A. Nid oes ar grefydd Iesu angen cynaliaeth yr awdurdod ddynol; ei eglwys a adeiladwyd yn fwy diysgog nag unrhyw sefydliad daearol, a phyrth uffern nis gorchfygant hi. (Mat. xvi. 18.) Bu ymyraeth y llywydd gwladol mewn achosion crefydd, yn fynych, yn fwy o niwaid na lles; ac y mae y cyfryw awdurdod mewn pethau ffydd yn dra pheryglus, ac yn ddiau y mae yr honiad o hono yn wrthunach nag eiddo y Pab ei hun, gan yr hwn y mae ffug anffaeledigaeth fel yn sail iddo.

G. 17. A fu Breninoedd Lloegr yn arfer a defnyddio yr awdurdod hon mewn pethau crefydd?

A. Do, a Breninesau hefyd, i'r fath radd ag i wrthdroi pleidleisiau y senedd, ac atal gweithrediadau yr holl gymanfa o lênwyr. Felly y gwnaeth y Frenines *Anne* yn achos Mr. *Whiston*, yr hwn a gollfarnwyd am gyfeiliornad.

G. 18. A ddarfu i grefydd erioed *flaguro* mewn gwlad lle nad oedd yn *sefydledig*?

A. Crefydd yr Iesu, fel y mae yn sefydledig yn nghalonau dynion, ni flagurodd erioed fwy nag a wnaeth pan (ar y cyntaf) yr oedd holl alluoedd y ddaear fel yn cydymosod yn ei herbyn.

G. 19. Onid oedd yr eglwys *Iuddewig* yn wladol, ac fel y cyfryw yn sefydledig?

A. Yr eglwys Iuddewig yn ddiau, oedd yn *wladol* a *sefydledig* hefyd; ond nid drwy awdurdod y *llywydd gwladol*, eithr gan Jehofa ei hun, yr hwn oedd ei Brenin a'i Deddfwr: ac nid oedd un awdurdod ddynol yn cael ei goddef i ymyraeth yn ei chyfansoddiad,

na'i llywodraethiad. Yr eglwys hon, gan hyny, sydd yn eithaf annghymwys i gael ei gwneuthur yn gynllun o un dan oruchwyliaeth mor wahanol ag ydyw yr un Gristionogol, ac nis bwriadwyd erioed iddi fod felly.

Sylwyd gan *rai* fod yr eglwys Iuddewig mewn rhan yn *gynulleidfaol*, gan fod yr holl wrrywiaid yn y wlad yn rhwymedig ar ryw adegau i ymddangos yn *Jerusalem*.

# ADRAN II.

## YN NGHYLCH Y SWYDDOGION GOSODEDIG YN EGLWYS LOEGR.

G. 20. Pa *swyddogion* a osodwyd yn Eglwys Loegr dan y Brenin, i ba rai y mae gan yr Ymneillduwyr wrthwynebiad?

A. Archesgobion, Esgobion Taleithiol, Archddëoniaid, Dëoniaid, Côr-beriglоriaid, Canoniaid, Is-Ganoniaid, Cangellwyr, Ficeriaid cyffredinol, Rhaglawiaid, Is-Raglawiaid, Dirprwywyr, Proctoriaid, &c., swyddogion nas gosodwyd mo honynt erioed gan Grist—nad oes dim yn y Testament Newydd yn eu hawdurdodi, eithr ydynt effaith cysylltiad anmhriodol yr eglwys a'r llywodraeth, a chan mwyaf o ddechreuad Pabaidd.[1]

G. 21. Pa nifer o *urddau* o *weinidogion* sydd yn Eglwys Loegr?

A. Tair: sef Esgobion, Offeiriaid, a Diaconiaid; am y rhai tybia yr Ymneillduwyr nad oes awdurdod ysgrythyrol. Yr *Esgobion* y darllenwn am danynt yn y Testament Newydd, nid oeddynt amgen na bugeiliaid cynulleidfaoedd neillduol, a elwir yn fynych *Henuriaid* neu *Henaduron*.[2] Yr enw *Offeiriad* ni

1 Am hanes natur a dechreu y rhan fwyaf o'r swyddogion hyn, gwel *Wilson's Review*, p. 158—159.

2 Mae y gair *Henuriaid* yn gyfystr ag *Esgobion*, y gair Groeg am ba un, mae yn eglur a arwydda *Arolygwyr*.

phriodolir unwaith i weinidogion, fel yn wahaniaethol oddiwrth Gristionogion eraill, y swydd offeiriadol (wedi i Grist offrymu ei hun unwaith,) a ddiddymwyd am byth.[1] Y *Diaconiaid* ysgrythyrol nid oeddynt weinidogion yr efengyl; eithr swyddogion tymorol i ofalu am y tylodion. (Gwel Act. vi benod[2].)

G. 22. Pa *faint yw rhifedi, swydd, ac awdurdod,* yr Esgobion yn eglwys Loegr?

A. Heblaw yr Archesgobion y rhai ydynt ddau, ac sydd yn blaenori ar y lleill, yr Esgobion ydynt bedwar-ar-hugain.[3] Ganddynt hwy y mae yr unig hawl i urddo y Llênwyr, ac awdurdod fawr iawn arnynt. Hwy a gyflawnant y ddefod o fedydd-esgob, a gysegrant eglwysydd a mynwentydd. Y maent hefyd yn feddianol ar awdurdod ac urddas gwladol mawr.

G. 23. Pa wrth-ddadl sydd yn erbyn uwchafiaeth yr esgobion ar y Llênwyr?

A. Nid oes y fath wahaniaeth o weinidogion wedi ei osod gan Grist yn ei eglwys, ond i'r gwrthwyneb, efe a waharodd yn benodol i neb o honynt gymeryd awdurdod ar y lleill. Eithr am y swydd o *Archesgob,* nid oes neb yn hòni dwyn un awdurdod ysgrythyrol drosti.[4]

G. 24. Onid oes rhywbeth annghymeradwy yn y dull o *wneuthur Esgob*?

A. Mae llawer iawn o rwysg a rhodres yn y gorchwyl hwn, am y rhai y dywed y canonwyr fod yr wyth canlynol: sef, penodiad, *congè d'èlire,*[5] (neu

1 Mae y swydd offeiriadol yn perthyn i aberthau, a'r cymwysiad o heno at weinidogion Cristionogol a gyfrifir oddiwrth yr athrawiaeth Babaidd o aberth yr Offeren, ac o wir aberth yn y cymun.

2 Am ddiaconiaid, gwel bregethau y doctoriaid Watts, Winter, a Newman. Corff Duwinyddiaeth y Dr. Lewis, a Geiriaduron Duwinyddol Buck a Jones, dan y gair diacon, yn nghyd a'r awdwyr y cyfeiriant atynt.

3 Yn ddiweddar gwnaed Esgob ychwanegol i Manchester, a chan nad oes lle i fwy o nifer o honynt yn Nhy yr Arglwyddi, rhaid i'r diweddaf a gysegrir fod allan hyd oni chysegrir un arall, ac felly ar gylch o hyd. O.

4 Gwel Mat. xx, 25—27. "Chwi a wyddoch fod penaethiaid y Cenhedloedd yn tra-arglwyddiaethu arnynt, a'r rhai mawrion yn tra-awdurdodi arnynt hwy. Eithr nid felly y bydd yn eich plith chwi: ond pwy bynag a fyno fod yn fawr yn eich plith chwi, bydded yn weinidog i chwi." Pen. xxiii. 8, 9. "Eithr na'ch galwer chwi Rabbi: canys un yw eich Athraw chwi, sef Crist; a chwithau oll brodyr ydych. Ac na elwch neb yn dad i chwi ar y ddaear: canys un Tad sydd i chwi, yr hwn sydd yn y nefoedd." D.S. Yr Esgobion a elwir yn arglwyddi, a gwir barchedig dadau yn Nuw, &c.

5 Y *Congè d'elire* a anfonir oddiwrth y Brenin at y *Deon* a'r *Cabidwl* gyda

ganiatad i ddewis,) etholiad, cydsyniad breiniol, sefydliad, cread, cysegriad, a graddiad, neu am *Archesgob* gorseddiad.

G. 25. Pa beth a wrthwynebir yn y dull *o urddiad* gan Esgobion?

A. Maent yn gofyn i bawb a urddant dystiolaethu eu bod wedi eu cynhyrfu gan yr Ysbryd Glan, wrth gymeryd arnynt y swydd weinidogaethol; ac yn hòni (neu yn ymddangos fel pe baent yn hòni,) rhoddi yr Ysbryd Glân trwy arddodiad eu dwylaw, gan ddywedyd, "Derbyniwch yr Ysbryd Glân."

G. 26. A all neb weini fel gweinidogion yn eglwys Loegr, ond y rhai a urddwyd gan ei *Hesgobion ei hun?*

A. Na all: pob urddiad arall a gyhoeddir yn ddirym, oddieithr eiddo eglwys Rhufain, gweinidogion yr hon, os cydffurfiant ag eglwys Loegr ni otynir eu hail-urddo.[1]

G. 27. Pa beth yw y rheswm cyffredin a ddygir dros *hawl ddieithriad* yr Esgobion i urddo?

A. Eu bod wedi ei dderbyn drwy olyniad didor oddiwrth yr Apostolion.

G. 28. Beth a ddywedir yn erbyn yr hawl hon drwy *olyniad didor?*

A. Nid yw yr Ysgrythyrau mewn un man yn son am dano fel yn angenrheidiol i wneyd urddiad yn safadwy. Nis gall eglwys Loegr brofi ei bod yn ei

chymeradwyaeth o'r dyn y mae ei fawrhydi yn ei dybied yn gymwys i lenwi yr esgobaeth wag, yr hwn yn ganlynol y maent yn wastadol yn ei ddewis iddi. Mae yn hen arfer i'r Esgob etholedig i ddywedyd, *Nolo episcopari*, y mae yn ymddangos yn awr, wedi ei adael heibio; mae amryw ddefodau er hyny yn cael eu harfer eto, yr hyn a dybid yn gentigenus i fanylu arnynt yma. Y darllenydd a fyddo yn chwenych am hyspysrwydd pellach mewn perthynas iddynt, a gyfeirir at *Nelson's Rights of the Clergy*, p. 103. &c., neu at *Burn's Eccles. Law.*

[1] Gwelir oddiwrth hyn o ba le y tarddodd yr ymadroddion o sawyr-rhagfarnllyd hyny yn ein deddfau, "FFUG URDDAU SANCTAIDD," y rhai sydd yn cael eu cymwyso hyd yn oed at y gweinidogion mwyaf duwiol, dysgedig, a doniol yn mysg Ymneillduwyr; a'r achos fod yr *uchel-lanwyr* yn golygu yr ordinhadau crefyddol a weinyddir ganddynt yn ddirym. Nid oes yn yr Ymerodraeth Frydeinaidd, o leiaf ddim llai na phedair o *grefyddau sefydledig*; ac o honynt y mae yr un Esgobawl yn Lloegr, a'r un Bresbiteraidd yn yr Alban; ond ni feiddia y Gweinidogion Esgobawl dderbyn y rhai Presbiteraidd i'w hareithfaoedd yn Lloegr, eithr eiddo yr Ymneillduwyr sydd yn agored iddynt yno. Bydded i'r rhai y perthyn iddynt, os gallant, gysoni hyn a rheswm, ac a'r gwirionedd, onide ymadawant a chulni eu cyfundrefn, ac arddelant frawdoliaeth yn ei phriodol weithrediad a'r Ymneillduwyr. Q.

feddu ef, a phe y gallai, byddai yn rhaid wedi ei dderbyn drwy geuffos lygredig eglw ain.

G. 29. Beth y mae yr *Ymneillduwyr* yn yn ei feddwl yn nghylch urddiad?

A. Maent yn barnu fod pob dyn a fyddo wys i'r swydd weinidogaethol, trwy ddoni ioldeb, yn meddu hawl i'w harfer hi mewn gymdeithas a'i galwo i hyny: ac nad yw mewn un modd yn angenrheidiol er buddiol iad o honi: o ganlyniad llawer o'u gwein bregethant amryw flynyddau cyn cael ei Ond y maent yn golygu ei fod yn dra g defnyddiol, ac unol a'r cynllun ysgrythyrol, ont o gylch sefydlu gydag unrhyw bobl f iaid i gael cymeradwyaeth, gweddiau, a c rhai o'u brodyr; y rhai ni honant unrhyw i'w cyfansoddi hwynt yn weinidogion; mae tarddu yn unig oddiwrth Grist, a dewisiad

G. 30. Beth yw *maintioli* swydd ac Esgob yn eglwys Loegr?

A. Mae pob Esgob yn fugail yr holl es chanddo ofal yr holl eneidiau ynddi, a lly yr holl Lênwyr, y rhai, mewn gwirionedd, unig ei Guradiaid; ac y mae yn ymddirie fawr i un dyn ei chyflawni, gan fod pob esg cynwys rhai canoedd o blwyfau.

G. 31. Beth yw yr awdurdod sydd gan ar ei Lênwyr?

A. Y mae ganddo awdurdod nid yn unig am eu hymarweddiad, i'w cyngori hwy dyledswydd, ac i ofyn llŵ o ufudd-dod id yn ôl y Canonau, ond hefyd y gallu i ddisw hyn a ymddengys yn ormod i gael ei ymdd dyn, ac yn enwedigol i un gweinidog Cristi harferyd dros ei frodyr.

G. 32. Beth yw natur a dyben y ddefo *ffirmasiwn* fel y cyflawnir hi gan yr Esgob:

A. Fe 'i bwriadwyd i bobl ieuainc, drw

gymeryd arnynt eu hunain yr adduned a wnaeth eu meichiau yn eu henwau pan fedyddiwyd hwynt.

G. 33. Pa beth y mae yr esgob yn ei gyflawni ar yr achlysuron hyn?

A. Efe a ddyolchai i Dduw am eu hadgenhedlu hwynt trwy ddwfr a'r Yspryd Glân, a rhoddi iddynt faddeuant o'u holl bechodau. Yna efe a ddyd ei law ar ben pob un o honynt, i'w sicrhau hwy, trwy yr arwydd hono, o ymgeledd a rhadlawn ddaioni Duw tuag atynt.

G. 34. Beth a *ofynir* gan ddynion mewn trefn iddynt fel hyn gael eu conffirmio?

A. Dim ychwaneg nag iddynt gael ysgrif-dyst oddiwrth eu gweinidog, eu bod yn medru dywedyd Gweddi yr Arglwydd, y Credo, y Deg Gorchymyn, a'r Catecism; a chyd-ateb yn glywedog, ac yn gadarnhäol i'r gofyniad, yr hwn o ganlyniad a ddarllenir,—"A ydych chwi yma, yn adnewyddu yr addunedau a wnaethpwyd yn eich enw wrth eich bedyddio?"

G. 35. Pa *wrthwynebiad* sydd gan Ymneillduwyr i'r ddefod hon?

A. Nad oes iddi sail mewn rheswm nac ysgrythyr,[1] a'i bod yn gysylltiedig a llawer o ganlyniadau peryglus; hefyd, pe y caniateid priodoldeb y ddefod ei hun, ymddengys fod pob gweinidog plwyfol mor addas i'w chyflawni hi ag esgob.

G. 36. Pa *ganlyniad peryglus* sydd yn debyg o gyfodi oddiwrth y ddefod hon?

A. Pobl anwybodus, y rhai mae ganddynt farn ry dda am yr esgob i feddwl y dywedai anwiredd, ydynt yn debyg o edrych arnynt eu hunain yn bod, yr hyn y dywedodd ef wrthynt eu bod, sef wedi cael maddeuant o'u holl bechodau, yn adgenhedledig, ac yn gyfranogion o radlawn ddaioni Duw, a thrwy hyny gasglu fod eu cyflwr yn ddyogel, tra y maent eto yn aros yn eu pechodau.

1 Y prif destyn a gynygir dros gonffirmiad nid yw ddim i'r perwyl, sef, Act. viii. xiv. &c., yr hwn a gyfeiria at y doniau annghyffredinol a gyfranwyd trwy Pedr ac Ioan. Y conffirmiad sef cadarnhad, a sonir am dano yn pen. xiv. 22; a xv. 41, nid oedd trwy arddodiad dwylaw, ond trwy *bregethu*.

G. 37. Pa wrthwynebiad sydd gan Ymneillduwyr i gysegriad eglwysi a mynwentydd gan yr esgob?

A. Y maent yn barnu na ddichon unrhyw ddefod wneyd y naill le yn fwy sanctaidd na'r llall; a phe y gallai, y mae yr offeiriaid cyffredin mor addas i'w gyflawni a'r esgobion, a bod eu honiadau o'r natur hyn, yn tueddu yn fawr i feithrin anrhydedd coelgrefyddol i'r lleoedd a gysegrir felly, yn gystal ag iddynt eu hunain.

G. 38. Beth yw yr *awdurdod wladol* a'r *uchelradd* â pha rai y mae yr esgobion yn cael eu gwisgo?

A. Y mae ganddynt eu hamryw lysoedd barn a gynelir yn eu cadeirlanau, ac yn rhoddi gwysiau allan, nid yn enw 'r Brenin (fel y gwna llysoedd eraill) ond yr eiddynt eu hunain. Y maent yn awdurdodi canghellwyr i weithredu fel barnwyr; awdurdodaeth y rhai sydd yn cyraedd i bob achosion yn nghylch priodasau, ewyllysiau, gweinyddiadau, &c., yn gystal ag i bersonau a gyhuddir o amrywiol droseddau, ar y rhai y rhoddant ddedfryd heb reithwyr, ac am y cyfryw y rhoddant gospedigaethau tymorol trymion iawn. Yr esgobion ydynt arglwyddi seneddol, ac fel y cyfryw yn meddu eisteddle yn Nhŷ yr Arglwyddi.[1]

G. 39. Beth a *ddywedir yn erbyn* yr urddas a'r awdurdod hon o eiddo yr esgobion?

A. Nid yw yn hollol gyson a'u nodweddau, fel gweision yr Iesu addfwyn a gostyngedig, nac a'u ymhoniadau fel olynwyr yr Apostolion, arfau milwr-

1 Haera rhai eu bod yn bendefigion y deyrnas. Bu esgobaeth Durham am ganrifoedd o flynyddoedd yn *rhandir Breiniarllaidd*; *Iarllaeth Sadbergh* hefyd a gysylltwyd a'r esgobaeth hono. Archesgob Caergaint yw y prif-esgob, ac Archesgob holl Loegr, ac yn nesaf mewn urddas i'r Teulu Breninol. Ganddo ef y mae profiad yr holl ewyllysiau yn ei dalaeth. Pan fyddo neb farw yn ddiewyllys, yn meddu ar feddianau mewn amryw esgobaethau, y gweinyddiad a berthyna iddo ef. Ei fraint ef, drwy ddefod, yw coroni breninoedd a breninesau Lloegr. Y mae ganddo hefyd (drwy Ddeddf 25, Harri VIII. pen. 21.) yr awdurdod i ganiatâu *rhyddhad* mewn unrhyw beth na fyddo yn wrthwynebol i'r Ysgrythyrau Sanctaidd, a chyfraith Duw, fel yr arferai y *Pab* gynt eu rhoddi hwynt, yr hyn yw y sail o'i fod yn rhoddi trwyddedau neillduol i briodi mewn unrhyw le ar unrhyw bryd—i ddal dwy o fywiolaethau, ac i roddi graddau er niweidio y prif-ysgolion. Mae Archesgob Caergaint yn ddiau, trwy gyfreithiau Lloegr, yn meddu y fath awdurdod helaeth, fel y barnodd y llywodraeth yn addas i beidio dyrchafu neb i'r urddas hono ar ol marwolaeth *Laud*, ond dynion o egwyddorion tra chymedrol." *Guthrie's Geog. Gram.* p. 189.

iaeth y rhai nid oeddynt gnawdol,[1] ac nis cynhyrfwyd gan ddim tuedd at rwysg allanol, neu awdurdodol.[2] Rhaid ei fod yn atalfa fawr i ddyledswyddau ysprydol eu swydd,[3] ac nid yw yn gyson ag yspryd rhydd ffurf-lywodraeth Lloegr.

# ADRAN III.

## AM Y FFURFWASANAETH.

G. 40. Pa fath yw y *dull o addoli* sydd yn yr Eglwys sefydledig?

A. Arferir ffurf o weddi yn wastadol, yr hon a elwir y Ffurfwasanaeth, neu y Weddi Gyffredin.

G. 41. A ydyw Ymneillduwyr *yn barnu* ffurfiau o weddiau ynddynt eu hunain yn *bechadurus*?

A. Nag ydynt; y maent yn barnu ei bod yn llawer gwell i weddio trwy ffurf na pheidio a gweddio yn gwbl, neu mewn modd anweddaidd ac annghyson; ond ni chymeradwyant yr arferiad o Ffurfwasanaeth, neu ffurf-weddi sefydlog mewn addoliad cyhoeddus.[4]

G. 42. Pa *wrth-ddadleuon* a ddygir yn gyffredin yn erbyn yr arferiad o *Ffurfiau-gwasanaeth*?

A. 1. Fod yr ysgrythyr yn ddystaw mewn perthynas i'r angenrheidrwydd neu y cyfaddasrwydd o honynt, ac ni chyfeiria at yr un mewn arferiad, er ei bod yn traethu yn helaeth ar ddwyfol addoliad ac yn crybwyll gweddiau dynion da ar amrywiol achosion.[5]

2. Ymddengys yn afresymol fod gweinidogion Cristionogol i gael eu cyfyngu i ffurf ddigyfnewid yn eu gweddiau, mwy nag yn eu pregethau.

G. 43. Pa rai yw'r *anfanteision* penaf o Ffurfwasanaeth?

1 2 Cor. x. 4. 2 1 Cor. iv. 1, 10—18. 3 Act. vi. 2—4.

4 Gwel bregeth ragorol ar y pwnc hwn a gyhoeddwyd yn ddiweddar gan Dr. Smith o Homerton. O.

5 Ni feddwn un hanes sicr am yr arferiad o unrhyw Ffurf-wasanaeth yn oesoedd cyntaf yr eglwys: y rhai hyny o eiddo St. Marc a St. Iago, ac un Alexandria, sydd amlwg eu bod yn ffugiol. Fe grybwyllir am danynt yn gyntaf yn niwedd y bedwaredd ganrif, ac yna gadawyd i bob esgob i lunio ffurf o weddi i'w ei eglwys ei hunan. *Neal's* Hist. Vol I. p. 37.

A. 1. Mae yn tueddu i feithrin segurvd mewn gweinidogion mor bell ag y mae yn atal ymegniad yn eu cyneddfau.

2. Y mae adroddiad gwastadol o'r un pethau yn tueddu i farweiddio serchiadau yr addolwyr, a magu ffurfioldeb.

3. Nis gall ffurfiau o wasanaeth fod yn gymwys at holl amgylchiadau gwahanol gymdeithasau, a'r amrywiol ddygwyddiadau a all gymeryd lle, y rhai y dylid gwneuthur sylw o honynt mewn gweddi gyhoeddus.

G. 44. Pa beth a ddywedir yn erbyn Ffurfwasanaeth *Eglwys Loegr* yn neillduol?

A. 1. Ei bod yn cael ei *harddodi* gan awdurdod ddynol fel nas gall gweinidogion wneyd dim newidiad oddiwrthi, pa beth bynag a ddichon amgylchiadau arbenigol ei ofyn: ac nis gellir gwneuthur un cyfnewidiad ynddi, pa mor briodol ac angenrheidiol bynag y byddo, heb ddeddf seneddol, yr hon nis gellir ei chael yn hawdd.

2. Fod llawer o bethau gwrthodadwy yn y Ffurfwasanaeth ei hun; hyny yw yn y ffurf a'r ystyr gyffredinol o honi, yn y syniad mewn amryw ranau neillduol o honi, ac yn fynych yn yr iaith.

3. Y mae dull ei hadroddiad yn anturiol ac anfuddiol, yn enwedig yr un a arferir yn y cadeirlanau.

G. 45. Pa bethau sydd yn wrthodadwy yn *ffurf ac ystyr gyffredinol* y Ffurfwasanaeth?

A. 1. Mae y drefn yn afreolaidd a chymysglyd. Yr amrywiol weddiau, colectau, &c., heb unrhyw drefn na chysylltiad.

2. Y rhanau i ba rai y dosparthwyd hi ydynt rhy luosog, a rhy fychain. Ymddengys fod rhai o'r gweddiau gwahanedig, ac yn enwedigol y colectau heb un amcan neillduol ynddynt, ac nid nemawr amgenach nac arweiniad i mewn a diweddiad.[1]

3. Y mae yn llawn o ail-adroddiadau ac aml eiriau

1 Gwel y Colectau am yr ail Sul wedi'r Ystwyll; yr ail cyn y Garawys: y trydydd, y pedwerydd, a'r pumed yn y Garawys.

ofer, megys "Arglwydd trugarhâ wrthym," a "gogoniant i'r Tad, &c.," a ddywedir yn rhy aml o lawer. Arferir gweddi yr Arglwydd dair neu bedair gwaith, a gall ddygwydd chwech gwaith yn yr un gwasanaeth.[1]

4. Mewn rhai golygiadau y mae yn dra diffygiol. —Y mae y cyffesiad lawer yn rhy gyffredinol; megys yn ddiau y mae y deisyfiadau a'r dyolchiadau. Nid oes ynddi ddarpariaeth ar gyfer rhai amgylchiadau.

5. Y mae yr holl wasanaeth yn rhy hir, ac er buddioldeb gallid ei dalfyru neu ei ranu.

G. 46. Beth sydd wrthodadwy o ran *syniad* yn rhanau neillduol y Ffurfwasanaeth?

A. 1. YN NGWEINYDDIAD BEDYDD.

Arferir y fath ymadroddion yn nghylch effeithioldeb y ddefod hono, ag sydd yn naturiol yn arwain dynion i'w golygu fel ordinhâd achubol; yr hyn, fodd bynag a wneir yn warthus drwy y gofyniadau a roddir i'r baban yn mherson y meichiau, a'r atebion a wnant yn ei euw, yn nghylch ei ffydd, a'i ymddygiad rhagllaw.[2]

2. YN NGWEINIDOGAETH Y CYMUN.

Y mae rhai ymadraddion yn tueddu yn fawr o blaid y dyb o bresenoldeb sylweddol Crist yn y bara a'r gwin; a chefnogir parch coel-grefyddol iddynt trwy arferyd y gair *cysegriad*, ac yn neillduol wrth ail-

1 Gwel Mat. vi. 7.

2 Mawr ddyolchir i Dduw am iddo adeni y plentyn a'i Yspryd Glân. Y dwfr a elwir yn "Olchiad yr Adenedigaeth yn Medydd," yn Saesoneg "*Laver of Regeneration in Baptism*," h.y., "*Noe yr Adenedigaeth*," trwy ba un y mae y plentyn "a anwyd mewn pechod dechreuol, yn cael ei dderbyn i nifer plant Duw, ac etifeddion bywyd tragywyddol." Yn ganlynol yn y *Catecism*, dysgir y plentyn i ddywedyd am ei fedydd, "Pan y'm gwnaethpwyd yn aelod i Grist, yn blentyn i Dduw, ac yn etifedd teyrnas nefoedd." Tyb yr un mor niweidiol ag ydyw yn afresymol ac anysgrythyrol. Y gofyniadau a roddir i'r baban drwy ei feichiau, ydynt, "A ydwyt ti yn enw y plentyn hwn yn ymwrthod â Diafol, ac a'i holl weithredoedd?" &c. A. "Yr ydwyf yn ymwrthod a hwynt oll." "A wyt ti yn credu yn Nuw Dad?" &c. A. "Hyn oll yr wyf yn ei gredu yn ddilys." "A fyni di dy fedyddio yn y ffydd hon?" A. "Hyny yw fy ewyllys." "A gedwi dithau gan hyny yn ufudd lân ewyllys Duw?" &c. A. "Gwnaf." Mae yr ymrysonau sydd yn Eglwys Loegr yn y dyddiau hyn, rhwng y Puseyaid a'r Gwrth-Buseyaid, yn achos "Exeter yn erbyn Gorham," &c., yn dangos fod llawer o'r llênwyr eu hunain yn credu adenedigaeth yn medydd: ac os nad yw yr eglwys hono yn credu, paham na chyfnewidiai hi ei Ffurfwasanaeth i'r fath eglurder ag y gallo pawb ei deall? Hyd nes y gwnelo hyny gallwn gredu mai dyna ei barn, eithr ei bod yn rhy wrthun i'w harddel yn gyhoeddus yn y dyddiau hyn, ac yn groes i feddyliau y rhan hyny o'u llênwyr a elwir yn "efengylaidd," ac mewn perygl o achosi rhwyg ynddi. O.

adrodd gweddi y cysegriad[1] os bydd y dogn cyntaf yn annigonol.

3. Yn Ymweliad â'r Claf.

Wedi i'r dyn claf ddatgan ei gydsyniad âg erthyglau y Credo, a phroffesu ei edifeirwch a'i gariad at bawb, y mae i gael ei "gynhyrfu i wneuthur cyffes hysbysol o'i bechodau, os clyw efe ei gydwybod mewn cythrwfl." Ar ol y cyfryw gyffesiad, gofynir i'r offeiriad, (os efe yn ostyngedig ac yn ffyddlon a'i dymuna) "*ei ryddhau.*"[2]

4. Yn Ngwasanaeth y Claddedigaeth.

Yr un gwasanaeth a ddarllenir yn mhob claddedigaeth yn ddiwahaniaeth; beth bynag fyddo oedran, amgylchiadau, neu gymeriad y marw; ïe, er bod yn wybodus eu bod y pechaduriaid gwaethaf, a'r anffyddwyr caletaf, ac wedi meirw heb ddim arwyddion o edifeirwch; oddieithr eu bod yn *ddifedydd,*[3] *hunanleiddiaid,* neu *esgymunedigion*; yr amgylchiad olaf a ddigwydd yn dra anfynych. Yn y gwasanaeth hwn rhaid i'r gweinidog alw y marw—"Ein hanwyl frawd, i ddatgan gwir ddyogel obaith o'i adgyfodiad i fuchedd dragywyddol, i ddyolch i Dduw am ei waredu allan o drueni y byd pechadurus hwn," &c., y

1 "Caniatâ i ni gan hyny Arglwydd grasol, fwyta cnawd dy anwyl Fab Iesu Grist, ac yfed ei waed ef, fel y gwneler ein cyrff pechadurus ni, yn lân trwy ei gorff ef," &c. Pan y mae gweinidog yn rhoddi y bara, efe a ddywed, "Corff ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a roddwyd drosot ti, a gadwo dy gorff a'th enaid i fywyd tragwyddol," a phan roddo y cwpan, "Gwaed ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a dywalltwyd drosot ti, a gadwo dy gorff a'th enaid." &c.

Mae trefn y *Rubric* am y bara a'r gwin a fyddo yn ngweddill yn arogli yn gryf o goelgrefydd Pabyddiaeth, ac yn ymddangos rywbeth yn ysmala. "Os bydd dim o'r bara a'r gwin heb ei gysegru dros ben, y curad a'i caiff iddo ef ei hun; eithr os bydd dim o'r hyn a gysegrwyd yn ngweddill, ni ddygir dim o hono allan o'r Eglwys; eithr yr Offeiriad, a chyfryw eraill gymunwyr ac a eilw efe ato y pryd hwnw, a fwytânt ac a yfant yr unrhyw, trwy barch, yn ebrwydd ar ol y Fendith."

2 Y mae ffurf y rhyddâd yn ddiau yn erchyll, ac yn Babyddiaeth hollol. "Ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a adawodd feddiant i'w Eglwys i ollwng pob pechadur a fyddo gwir edifeiriol, ac yn credu ynddo ef, o'i fawr drugaredd a faddeuodd i ti dy gamweddau: a thrwy ei awdurdod ef, a ganiatâwyd i mi, *y'th ollyngaf o'th holl bechodau*, yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân. Amen."

3 Y mae gwrthodiad o'r gwasanaeth hwn ar gladdedigaeth *babanod* a ddigwyddant farw cyn cael eu bedyddio, wedi ei seilio ar y dyb erchyll hono, nas gallant fod yn gadwedig.

Pan fyddo dynion wedi cael eu hesgymuno, *ipso facto*, mae yr amgylchiadau mor luosog, fel y mae yn annichonadwy i'r llênwr, yn aml, i wybod a oes ganddo awdurdod i ddarllen gwasanaeth, ai nad oes. Gorfodiad i ddarllen gwasanaeth y claddedigaeth uwchben beddau pob math o ddynion a wnaeth i Archesgob *Sancroft*, fel y dywedodd efe ei hun, wrth y Dr. *Tillotson*, i beidio a chymerwyd arno ofal eneidiau. See Cal. Life of Baxt. Vol. I. p. 226.

cyfryw ymadroddion (yn agwedd *ddiofal dysgyblaeth yr eglwys* yn bresenol) a raid archolli cydwybodau gweinidogion, yn fynych, ac a ddilynir gan ganlyniadau tra pheryglus gyda golwg ar y bobl, y rhai yn naturiol a gefnogant eu hunain i fyned rhagddynt mewn pechod, ar y rhyfyg o gael dedwyddwch yn y diwedd, tra y maent yn clywed mor fynych am ddynion o'r cymeriadau gwaethaf yn cael eu cyhoeddi yn wynfydedig, ar ol iddynt feirw.

5. Y wasanaeth a berthyn i rai DYDD-GWYLIAU.

Yn enwedigol yr un am Ionawr 30ain a Mai 29ain. Yn y gyntaf o honynt, y mae marwolaeth *Siarls I.*, ac yn yr olaf, adferiad *Siarls II.*, yn cael eu cofio mewn modd ag sydd yn seiliedig ar anwiredd yn ymylu ar halogrwydd.[1]

6. Yr arferiad a LLYFRAU YR APOCRYPHA.

O ba rai y mae llithoedd wedi eu hapwyntio i'w darllen yn gyhoeddus, a hyny yn lle rhyw ranau o'r Ysgrythyrau santaidd; yr hyn a ymddengys yn rhoddi awdurdod gyfartal i'r Apocrypha a'r Bibl. Mae rhai o'r llithoedd hyn yn cynwys y ffug-chwedlau mwyaf dirmygus yn yr holl lyfr.[2]

7. Yn NGHREDO ATHANASIUS.

Y Credo hwn, (pa un a gymerwyd yn yr un geiriau o LYFR YR OFFEREN, sef Llyfr Gweddi Gyffredin y Papistiaid,) a ymddengys fel pe na byddai wedi ei amcanu i egluro nac i amddiffyn yr

1 Ar Ionawr 30ain, Siarls I. yn wrthun, a elwir yn *Ferthyr*. Rhoddir cymeriad llawer amgenach iddo, nac yr ymddengys (oddiwrth ei hanes) iddo ei haeddu: galarir am ei farwolaeth, a'r euogrwydd o honi a gyffesir, ac erfynir na ddel barnedigaethau Duw arnom o'i herwydd, mewn modd tra beius, hyd yn oed a meddwl fod ei gymeriad yr hyn y darlunir ef. Ond y rhan fwyaf erchyll o'r gwasanaeth ydyw darllen y rhanau o'r Ysgrythyr a berthynant i *ddyoddefaint Crist*, fel yn briodol iddo ef.

Y dyolchgarwch a offrymir Mai 29ain, am adferiad Siarls II. megys "ein grasusaf a'n cyfiawnaf benllywiadur; gan edfryd i ninau hefyd trwy hyny ryddid i broffesu yn gyhoeddus dy wir grefydd a'th iawn addoliad,—er mawr gysur a diddanwch ein calonau;" ydynt y fath nas gallwn yn galonog ymuno ynddynt, pan feddylion am ddrygau ei gymeriad, ei ymgeisiau yn erbyn rhyddid y deyrnas hon, drwgfoesau ac erledigaethau ei deyrnasiad, oddieithr i ni gredu nad oedd ac nas gall fod yr un broffes rydd a chyhoeddus o wir grefydd Duw, &c., heb gysegr-lywodraeth a Ffurfwasanaeth Eglwys Loegr.

2 Megys y chwedlau dychymygol a gwrthun am *Bel a'r Ddraig*, am *Judith a Susannah*, (y gyntaf a appwyntiwyd i gael ei darllen drwy Lyfr Gweddi Gyffredin Siarls II., ac yn fwy na'r cwbl, y ffughanes swynol am achub morwyn dêg oddiwrth hudoliaeth ei chariad uffernol, a swyno ymaith y cythraul anllad *Asmodeus*, drwy fwg afu pysgodyn. *Towgood*. p. 101.

athrawiaeth y tractha am dani. Y rhanau dedfrydol o honynt ydynt yn neillduol feiadwy, ac yn gwneyd yr eglwys yn eithaf annghyson, fel y mae yn derbyn dynion i'w chymundeb heb ymofyn eu crediniaeth o hono, ac yn datgan ei gobaith am iachawdwriaeth pawb y darllenir gwasanaeth y claddedigaeth trostynt, er yn wybodus eu bod yn ei wadu ef.[1]

8. Mewn rhai rhanau o'r LITANI.

Y modd y cyfarchir y Drindod yn y dechreuad, a ystyriwyd gan y *Trindodiaid*, (yn enwedig *Calfin*) yn dra beiadwy, gan nad oes un esiampl ysgrythyrol o'r fath. Y deisyfiadau eraill oll a gyfeirir at Grist yn unig. Maent yn y cyffredin yn rhagorol, oddieithr yr un rhag *angeu disyfyd*, yr hwn nas gall rhai ei ddefnyddio.[2]

9. Y ddefod o'r WEDDI GYMELL.

Hyn mae yn amlwg sydd weddill Pabyddiaeth, ac megys yr arferir yn breseuol, sydd wrthuni dirfawr: wedi i'r gweinidog esgyn i'r areithfa, y bobl i weddio dros y brenin (neu'r frenines), y llywodraethwyr, y llênwyr, &c., ond ni rydd hamdden iddynt i wneuthur hyny, gan ei fod ef yn ebrwydd yn adrodd gweddi yr Arglwydd, ac yna yn myned yn mlaen gyda'r bregeth.

G. 47. Pa beth a wrthwynebir i'r *dull o adrodd* y Ffurfwasanaeth?

A. Mae ei chanu, megys y gwneir yn y cadeirlanau yn annghyfaddas i natur gweddi a symlrwydd addoliad efengylaidd.[3] A'r dull y mae y bobl yn uno a'r offeiriad yn y llanau plwyfol yn anadeiladol, annatur-

1 Darfu Archesgob *Tillotson* arwyddo ei ddymuniad am i'r Eglwys ymwrthod yn gwbl a'r Credo hwn.

2 Y deisyfiad canlynol a *adawyd allan* yn yr adolygiad yn amser y Frenhines Elizabeth, "Oddiwrth *Esgob Rhufain a'i holl ysgelerderau atgas*, gwared ni Arglwydd daionus." At y gwrthwynebiadau blaenorol, gellir chwanegu.

3 Corganu gweddiau a ddygwyd gyntaf i eglwys Antiochia, gan *Flavianus*, dyn o foesau drwg, ond hoff o seremoniau. Darfu Eglwys *Rhufain* ei fabwysiadu, lle y diwygwyd ef dan amryw Babau, ac a gwblhawyd yn amser *Gregory*, o gylch y flwyddyn 620, ac oddiwrtho ef a gyfenwyd yn ganiad Gregoriaidd. Awstin Fynach a'i dygodd i Loegr. Y Pab *Vitalian* I., (B. A. 683) oedd y cyntaf a benododd organau i gael eu harferyd. *Dissert. on Cathed. Worship.*

D. S. Llyfr yr Homiliau (pa un y mae pob llênwr yn ei arwyddo, fel yn cynwys athrawiaeth bur ac iachus) sydd yn condemnio corganu, a chwareu ar yr organ fel yn *anfoddloni Duw yn dost, ac yn ffiaidd halogi ei dy sanctaidd ef. Yr Homili ar le ac amser gweddi.*

iol, a gormesol; maent weithiau yn ateb y deisyfiadau a offryma efe;[1] weithiau yn cyd-adrodd y weddi ag ef; weithiau yn dywedyd rhanau toredig o frawddegau ar ei ol ef; ac weithiau yn diweddu y brawddegau a ddechreuodd efe; ac yn y Salmau, y mae efe a hwythau yn darllen adnod yn gylchynol.

G. 48. Pa fodd y mae i'w gyfrif fod cynifer o bethau beius yn y Ffurfwasanaeth?

A. Y rheswm eglur yw, fod y rhan fwyaf o hono wedi ei gymeryd o'r hen *Ffurfwasanaeth Babaidd*,[2] oddiwrth ba un, y diwygwyr, yn ddoeth, a wnaethant cyn lleied o wahaniaeth ag ydoedd alluadwy. Ond eu holynwyr a orphwysasant yn foddlon ar yr hyn a wnaethant hwy, ac ni wnaethant un cyfnewidiad o bwys byth wedi hyny. Ein llywodraethwyr eglwysig, naill ai trwy ddiofalwch, neu wrthwynebiad afresymol i ddefod-newidiadau, neu yr ofn o beryglu yr holl eglwys drwy ddiwygio darn o hono, a wrthodasant hyd yn hyn gynygiadau llawer o lênwyr dysgedig yn yr eglwys, (yn gystal a'r gweinidogion Presbyteraidd, yn 1661) er gwellâu y ffurf sefydledig.

G. 49. Yn mha ddull y mae yr addoliad cyhoeddus yn cael ei ddwyn yn mlaen gan yr Ymneillduwyr?

A. Trwy weddi ddifyfyr, neu fel y gelwir hi weithiau, gweddi rydd; yn mha un y mae y gweinidog yn gweddio yn ol ei farn a'i fedrusrwydd ei hun, heb gymorth llyfr.

G. Pa sail sydd ganddynt o'r *Ysgrythyr* dros y dull hwn o weddio?

1 Ni arferir atebion mewn un eglwys Brotestanaidd arall. *(Neal)* Y rhai hyn hefyd a ddygwyd i mewn gan y Pab *Gregory*.

D. S. Nid yw cylchynol adroddiad y Salmau yn cael ei orchymyn gan yr Eglwys.

2 *Calderwood* yn ei Hanesiaeth Eglwysig, a ddywed, Nad yw y Llyfr Gweddi Gyffredin fawr amgen na chyfieithiad o amryw ranau wedi eu dodi yn nghyd o'r *crynodeb Rhufeinaidd, yr Offeren, a'r Llyfr defodau.* Y chwech cân ganlynol ydynt air yn ngair o Lyfr yr Offeren; *Benedicte omnia, Benedictus Dom; Magnificat. Nunc dimittis. Quicunque vult,* (*neu gredo Athanasius*) *Te Deum*, a'r *Gloria Patri, (gogoniant i'r Tad, &c.,)* ar ol pob Salm. Pan ddarfu *pobl Dyfnaint* gael eu cynyrfu i wrthryfel o herwydd y cyfnewidiad yn eu Hofferen, y Brenin Edward VI. a ddywedodd wrthynt mewn llythyr i'w tawelu hwynt, "Megys am y gwasanaeth yn yr iaith Saesonaeg, yr hwn fe allai a ymddengys i chwi yn newydd, ond er hyny yn wir *nid yw amgen na'r hen: yr un gyffelyb eiriau yn* Saesonaeg." Mewn canlyniad, rhai o'r Pabau a gynygiasant awdurdodi y Ffurfwasanaeth Saesonaeg. Gwel *Delaune's* Plea, 47–52; ac hefyd, "Ys-

A. Mae yn ddilys ei bod mewn ymarferiad yn hir cyn bod, nag y gallasai fod dim Ffurfwasanaeth; canys yr oedd dynion yn gweddio ar Dduw ddwy fil o flynyddoedd cyn i ddim llyfrau gael eu hysgrifenu. Ac y mae engreifftiau o weddiau fel hyn yn yr Ysgrythyrau santaidd.[1]

G. 51. Pa *fanteision* a dybia yr Ymneillduwyr a ddeillia oddiwrth ganlyn gweddi ddifyfyr?

A. 1. Mae yn peri i'r gweinidogion, (y rhai a'i defnyddiant hi mewn *agwedd briodol*) arfer diwydrwydd i ymgyfeillachu a phethau dwyfol.

2. Mae yn tueddu i gadw i fynu ystyriaeth, ac i enyn serchiadau duwiol yn yr addolwyr.

3. Mae yn gyfaddas i fod yn fwy cymwys i amgylchiadau y gynulleidfa, ac i wahanol ddygwyddiadau disymwth a phwysfawr, y rhai na ddylid eu gadael yn ddisylw mewn addoliad cyhoeddus.

G. 52. Pa fodd y gall y bobl *gyduno* mewn gweddi ddifyfyr, gan fod yn rhaid iddynt aros am ddiwedd pob brawddeg cyn y gallont ei deall?

A. 1. Mewn trefn i gyduno yn briodol ag eraill mewn gweddi, nid yw yn angenrheidiol cymeryd pob gair pan draethir ef: mae yn ddigon cydsynio a'r deisyfiad pan fyddo'r cyfan wedi ei draethu.

2. Er hyny, y cyfryw weddiau a elwir yn ddifyfyr, nid ydynt (ac ni ddylent fod) bob amser yn hollol *newyddion:* llawer o'r un ymadroddiou a ddygwyddant yn fynych, ac yn enwedigol y rhai ysgrythyrol, y rhai yn gyffredinol a ellir eu deall, a chydsynio â hwynt, bron mor fuan ag y cânt eu dechreu.

G. 53. Onid ydyw gweddiau difyfyr yn agored i lawer o *annghyfaddasrwydd* mewn trefn ac ymadrodd?

A. Fe addefir nad ydynt bob amser mor gywrain ag y gall ffurfiau gael eu gwneyd. Ond gall dynion o ddoniau naturiol da, trwy ofal diwyd, gyraedd yr athrylith o egluro eu hunain gyda gradd digonol o

*chwiliad rhydd a diduedd mewn perthynas i Eglwys Loegr, cyfeiriedig at ein Llywodraethwyr Eglwysig a Gwladol, gan Feibion ufudd yr Eglwys.*

1 Gwel Actau i. 24, 25, a'r iv. 23—30.

gywirdeb i ateb holl amcanion gweddi gymdeithasol. A dylai Eglwyswyr gofio fod annghyfaddasrwydd yn eu Ffurfwasanaeth hwythau, gymaint a'r mwyaf yn ngweddiau yr Ymneillduwyr rheolaidd.

G. 54. Eithr onid yw yn ofynol i Gristionogion gadw *unffurfiad* yn eu haddoliad?

A. Pe buasai unffurfiad mewn addoliad dwyfol yn angenrheidiol, buasai Crist ei hun wedi dywedyd hyny wrthym, a'r Apostolion a'r Cristionogion cyntaf a fuasent yn ei gadw, ac nid oes un prawf iddynt ei wneyd. Ac y mae yn sŷn fod unffurfiad yn cael ei dybied yn fwy angenrheidiol mewn gweddio nag mewn pregethu, neu mewn pethau eraill, yn mha rai y mae amrywiaeth yn brydferthwch.[1]

G. 55. Oni ddarfu Crist ddysgu ei ddysgyblion i *weddio trwy ffurf* a elwir *Gweddi yr Arglwydd*?

A. Ni addefir iddo ei bwriadu i gael ei harfer yn wastad yn ei eglwys megys ffurf, llawer a'i hystyriant hi yn unig fel cyfarwyddyd i'n gweddiau.[2] Ond pe profid i'r gwrthwyneb, ni wnai hyny awdurdodi yr arferiad o *ffurf-wasanaeth* a wnaethpwyd gan ddynion ffaeledig, llawer llai yr arddodiad o honi gan y llywydd gwladol.

# ADRAN IV.

## YN NGHYLCH SEREMONIAU.

G. 56. Beth yw barn yr *Ymneillduwyr* mewn perthynas i *seremoniau* mewn addoliad dwyfol?

A. Y maent yn annghymeradwyo y cyfryw sydd o ddychymyg ddynol, yn enwedig pan eu gwneir yn angenrheidiol, ac yn tybied eu hunain yn rhwym i wrthod cydymffurfio â hwynt.

1 Ni bu i'r Eglwys hyd amser *Awstin* ddechreu ymgynghori ynghylch cyfatebiad o weddiau; ond eto nid dim unffurfiad. Nid hyny yn unig, ond yn amseroedd tywyllaf Pabyddiaeth yr oedd amrywiaeth o ffurfiau mewn gwahanol esgobaethau; er tystiolaeth o hyn, yr oedd gwasanaeth i *Sarum*, *Bangor*, *Caerefrog*, &c. *Neal.*

2 Gweddiwch chwi *fel hyn*, sef yn y *modd hyn*. Mat. vi. 9.

G. 57. A ydyw seremoniau Eglwys Loegr yn cael eu gwahardd *yn yr Ysgrythyr?*

A. Nid ydynt yn cael eu gwahardd yn benodol yn yr Ysgrythyr, oblegyd nid oeddynt mewn arferiad yn ddigon boreu, ond y mae pob *ewyllys-grefydd,* ac o'r cyfryw y mae y rhai hyn yn un math :[1] a'u bod heb eu *gorchymyn,* sydd reswm digonol dros eu gwrthod hwynt.

G. 58. Onid yw yr Eglwys yn *hòni awdurdod* i osod defodau a seremoniau mewn addoliad dwyfol?

A. Ydyw yn benodol yn yr ugeinfed erthygl; ond y mae Ymneillduwyr yn gwadu yr hawl, ac nis gallant ymostwng i un o'i seremoniau nes y profo hi ei hawdurdod i'w gorchymyn hwynt o'r Ysgrythyr.

G. 59. A oes dim yn ofynol yn addoliad Duw, ond a *orchymynir mewn Ysgrythyr?*

A. Dim ond yr hyn sydd naill ai yn orchymynedig, neu o angenrheidrwydd yn gynwysedig mewn gorchymyn.

G. 60. Onid yw y seremoniau hyn yn *ddibwys?* Pa le gan hyny y gall fod y niwaid o gydsynio â hwynt?

A. Er yr addefir eu bod yn ddibwys ynddynt eu hunain, efallai nad ydynt felly yn eu holl amgylchiadau; a phe byddent, hwy a beidient a bod felly, pan y gwneid hwynt yn amodau cymundeb Cristionogol.[2]

G. 61. Pa niwaid a all fod mewn ymostwng i *awdurdod* mewn pethau dibwys er mwyn heddwch?

A. Byddai hyny yn gydnabyddiaeth fod yn y cyfryw a gymerasant y swydd o lywodraeth yn yr Eglwys awdurdod na roddodd Crist erioed iddynt hwy; yr ymhoniad o hono sydd yn anfri i'w anrhydedd: ac fe fyddai yn rhoddi i fynu "y rhyddid â'r

1 Gwel Col. ii. 20—23. "A phaham yr ydych yn ymroi i ordeiniadau—yn ol gorchymynion ac athrawiaethau dynion! yr hyn bethau sydd ganddynt rith doethineb mewn ewyllys-grefydd a gostyngeiddrwydd."

2 Gwel 1 Cor. vi. 12. "Pob peth sydd gyfreithlon i mi, ond ni'm dygir idan awdurdod gan ddim."

Vide *Furneaux's Letters to Blackstone*; p. 156—160. second edition.

hwn y rhyddhaodd Crist ni," ac yn mha un y cyngorir ni i sefyll yn ddiysgog, Gal. v. 1.

G. 62. Oni orchymynir i ni "*wneuthur pob peth yn weddaidd ac mewn trefn*? Onid all penaethiaid yr Eglwys, gan hyny, osod beth bynag sydd angenrheidiol tu ag at hyny?

A. Yr holl Gristionogion a ddylent farnu drostynt eu hunain pa beth sydd weddaidd a threfnus. Rhai a dybient y pethau hyny felly, y rhai a dybia eraill i'r gwrthwyneb. Ac nid oes gan neb dynion o un math hawl i benderfynu dros neb ond eu hunain, canys nid ydym yn arddel dim penau i'r eglwys ar y ddaear.

G. 63. A oes rhyw *ganlyniadau drwg* yn debyg o gyfodi oddiwrth yr ychydig seremoniau y darfu i Eglwys Loegr eu hapwyntio?

A. Nis gallant wneyd dim daioni, a gellir eu camarfer i ddybenion drwg. Maent yn tueddu i ddinystrio symlrwydd yr addoliad dwyfol; y maent yn cefnogi coel-grefydd, ac yn arwain at Babyddiaeth, yr hon sydd yn orlawn o ddychymygion dynol.

G. 64. Eithr onid yw Eglwys Loegr *yn ymwrthod* â chyfeiliornadau *Pabyddiaeth*?

A. Mae hi felly mewn geiriau, ond nid mewn gweithred, tra y byddo yn hòni awdurdod mewn achosion ffydd, neu hawl i osod seremoniau. Y seremoniau hyny a arfera, mae'n amlwg, sydd o ddechreuad Pabaidd, ac ar yr un egwyddor ag y mabwysiada hi y rhai hyn, y gall dderbyn y cyfan o'r lleill.

G. 65. Pa rai ydyw y *seremoniau* a arferir yn Eglwys Loegr?

A. 1. Ymgrymu tua'r dwyrain. 2. Ymgrymu wrth enw yr Iesu. 3. Nodi âg arwydd y groes yn y bedydd. 4. Agweddau neillduol wrth addoli, yn enwedig penlinio yn swper yr Arglwydd.

G. 66. Beth yw y seremoni o *ymgrymu at y Dwyrain*?

A. Bwrdd y cymun (yr hwn a elwir yr allor, ac a gylchynir a chanllawiau) sydd wedi ei gyfleu yn y pen dwyreiniol i'r Eglwys; ac ato ef y try eglwyswyr

manwl eu gwynebau o'r holl ranau eraill, pan ddywedant y credo, ac yr ymgrymant pan ddenant at enw Iesu Grist.

G. 67. Beth yw y gwrthwynebiad sydd gan *Ymneillduwyr* i'r seremoni hon?

A. 1. Ni ddylai fod allorau mewn eglwysi Cristionogol, ond yn unig bwrdd cyfleus, wrth ba un y gweinyddir swper yr Arglwydd.

2. Nid oes un rheswm y dylid dodi hwn yn y pen dwyreiniol i'r adeilad, gan nad ydyw yn santeiddiach nag un man arall. Nis dodwyd ef felly ar ol y Diwygiad hyd amser *Laud*, ond o fewn corff yr eglwys.

3. Nid ydyw bwrdd y cymun a mwy o santeiddrwydd ynddo na rhyw fwrdd arall, a bod y ddefod o ymgrymu tu ag ato wedi tarddu o Babyddiaeth, yr hon a ddysg fod y bara a'r gwin a ddodir arno yn wir gorff a gwaed Crist; yr hyn y mae Eglwys Loegr, yn nghyd a'r holl rai Protestanaidd eraill yn proffesu ei wadu.[1]

4. Mae plygu y corff ar unrhyw gyfran neillduol o'r addoliad dwyfol yn seremoni anysgrythyrol, ac yn arogli o goel-grefydd. Col. ii. 18.

5. Ymddengys addoli tua'r dwyrain yn hen ddefod Baganaidd, yr hyn y mae yr Ysgrythyr yn ei feio yn benodol.[2] Gwel Ezec. viii. 16.

G. 68. Onid ydyw yr *Ysgrythyr* yn gofyn yn benodol fod i bob glin blygu yn enw Iesu?

A. Nis gellir cymeryd yr ymadrodd hwn o'r ysgrythyr mewn ystyr lythyrenol, a chan hyny, nid ydyw yn awdurdodi yr arferiad o blygu y corff pan grybwyllir enw Iesu.

G. 69. Pa fodd yr ymddengys hyn?

A. 1. Mae yn afresymol i dybied fod y fath ddefod

1 Nid yn eithaf cyson y gwada Eglwys Loegr draws-sylweddiad, tra y mae rhai ymadroddion yn aros yn ei Ffurfwasanaeth. Edrycher tu dalenau 76 a 77, am wasanaeth y cymun; yr ail atebiad a'r sylw-nodau i'r gofyniad 46. Y *Catecism* a ddywed, "y *peth a arwyddoceir* yn swper yr Arglwydd ydyw "*Corff a gwaed Crist*, y rhai y mae y ffyddloniaid yn wir ac yn ddiau yn eu cymeryd ac yn eu derbyn."

2 Nid oedd allorau gan y Cristionogion cyntefig; y Pab *Sylvester* a'i cysegrodd hwynt gyntaf yn B.A. 1334.

Hyspysa y *Rubric* fod y bwrdd i sefyll o fewn corff yr eglwys, neu y gangell.

yn cael ei gorchymyn mewn anrhydedd i'r Mab, ac heb fod i'r Tad hefyd; neu wrth yr enw Iesu, ac nid yr un arall o'r enwau, wrth ba rai y gelwir Mab Duw yr un mor fynych.

2. Os cymerir un rhan o'r testyn yn llythyrenol, dylid cymeryd y cyfan o hono felly, yr hyn sydd rhy wrthun i'w ganiatâu; canys fe ofynir yno i bob tafod gyffesu fod Iesu Grist yn Arglwydd y *nefolion, a'r daearolion, a than ddaearolion bethau.* Phil. ii. 10.

3. Nid ydyw pobl yr eglwys eu hunain yn arfer yn ol ystyr lythyrenol y testyn hwn, canys nid oes neb o honynt hwy (oddieithr y gwragedd) yn plygu y *glin*,[1] ond y PEN.

4. Nid cyfieithiad llythyrenol yr ymadrodd yw *wrth* enw,[2] ond *yn* enw Iesu.

5. Rhai duwinyddion dysgedig a selog yn yr eglwys a roddasant y testyn i fynu, fel un annmherthynasol i'r perwyl hwn; Dr. Nicholas yn neillduol.

G. 70. Pa ymhoniad sydd dros fod yr Offeiriad yn *croesi y talcen* wrth fedyddio?

A. Fe ddywedir ei fod yn cael ei wneyd megys arwydd na fydd i'r hwn a fedyddier "gywilyddio cyffesu ffydd Crist a groeshoeliwyd, ac iddo ymladd yn wrol dan ei faner ef."[3]

G. 71. Beth a ddywedir yn erbyn y seremoni hon?

A. 1. Nad apwyntiodd Crist erioed mo honi.

2. Os rhaid defnyddio arwydd y groes fel nôd ar ddysgybl i Grist, dylai fod naill ai yn weledig ac

1 Dywedodd rhai nad yw y seremoni o blygu yn orchymynedig, ond wedi ei seilio ar arferiad yn unig; eithr y mae hyn yn gamgymeriad. Y mae *Archiad* 52, y Frenhines Elizabeth, fel y canlyn;—"Mae o angenrheidrwydd i'w dderbyn, mai pa pryd bryd bynag y byddo enw Iesu, mewn unrhyw lith, pregeth, neu modd arall yn cael ei ddatgan, gwneler parch dyledus gan bawb, ieuanc a hen, gyda glin-blygiad isel, a'r gwrrywiaid wedi dynoethi eu penau, megys y mae o angenrheidrwydd yn perthyn at hyny, ac a arferwyd o'r blaen. Gwel hefyd Canon 18."

2 Mae yn ganfyddadwy mai yn y Llyfr Gweddi Gyffredin darllenid Phil. ii. 10. (fel yn yr hen gyfieithiad o'r Bibl,) *yn enw, &c.*, (sef yr Epistol am y Sul nesaf o flaen y Pasg,) hyd oni wnaeth *Laud* y cyfnewidiad hwn, megys y gwnaeth efe lawer ychwaneg, heb awdurdod y Gymanfa Eglwysig, na'r Senedd. *Neal.* Efallai mai yn ol y newidiad hwn y mae y Bibl Saesoneg awdurdodedig presenol yn darllen "*at the name*," yn lle "*in the name*," &c. Eithr y mae cyhoeddwyr cyfieithiadau dywygiedig yn yr iaith hono, yn ei roddi *fel yr un* Cymraeg, "*yn enw*," &c. O. Gwel *Doddridge* a *Conquest* ar yr adnod.

3 Y groes yn y bedydd a ddygwyd i mewn yn y bedwaredd ganrif, gan blaid a elwid *Basilidiaid.*

yn barhaus, neu gael ei gwneyd yn fynych yn ol arfer y Pabyddion.

3. Mae defnyddio yr arwydd hon mewn bedydd yn gwneuthur dau sacrament o un, yn ol y darluniad o sacrament, sef "arwydd gweledig oddiallan o ras ysprydol oddifewn."

4. Mae defnyddio unrhyw seremoni mewn bedydd fel nôd o groes, (neu ddyoddefaint Crist,) yn gwneuthur i'r ordinhâd hon ymyraeth a swper yr Arglwydd, yn yr hon y mae y bara a'r gwin wedi eu dwyfol apwyntio yn benodol i'r perwyl hwn.

5. Mae gwneuthur y seremoni hon yn hanfodol i weinyddiad bedydd, yn drais afresymol ac annghyfiawn ar gydwybodau y rhai a ddichon betruso yn ei chylch.[1]

G. 72. Beth sydd wrthodadwy yn yr eglwys yn nghylch *agweddau corfforol* mewn addoliad dwyfol?

A. Gofyna yr eglwys yn awdurdodol i'r bobl newid eu hagweddau yn fynych; i sefyll mewn rhanau neillduol o'r gwasanaeth, penlinio mewn rhai, ac eistedd yn y lleill, pan na byddo nac ysgrythyr na rheswm yn nodi allan y gwahaniaeth;[2] ac yn wastad benlinio wrth dderbyn y sacrament.

G. 73. Onid ydyw yr agwedd barchus o *benlinio* yr un fwyaf cyfaddas i'r ordinhâd ddifrifddwys swper yr Arglwydd?

A. Pe felly, ein Hiachawdwr yn ddiau a wybuasai hyny, ac a'i gorchymynasai, neu a'n dysgasai ni i'w harfer, drwy wneyd felly gyda'i ddysgyblion, pan sefydlodd yr ordinhâd ar y cyntaf.

G. 74. A ydyw agwedd yr *Ymneillduwyr* yr un a'r hon a arferodd ein *Harglwydd a'i ddysgyblion*?

A. Nag ydyw; eithr y mae yn sicr iddynt hwy arfer yr un agwedd a'r hon y cymerent eu hymborth

1 Ganwyd Mat. Henry, pan oedd deddf yr unffurfiaeth wedi cau geneu dwy fil o weinidogion, ag un o honynt oedd ei dad, Phil. Henry, yr hwn erfyniodd ar Mr. Hollard, yr hwn a fedyddiodd ei fab, i *adael heibio arwydd groes:* eithr efe a ddywedodd "*nas gallai feiddio gwneuthur hyny,*" atebodd Mr. Henry, "*yna, Syr, gorwedded hyny wrth eich drws chwi.*" Nid oedd yno er hyny dadau na mamau bedydd. Life of Mat. Henry, p. 10. O.

2 Yr engraifft fwyaf annirnadwy o'r fath hyn, yw yr arfer o *eistedd* pan fydd yr *Epistolau* yn cael eu darllen, ac i *sefyll* ar ddarlleniad yr *Efengylau*.

cyffredin.[1] Yr Ymneillduwyr, gan hyny, a dybiant, gan mai eistedd yw yr agwedd wrth fyrddau cyffredin yn awr, eu bod yn dyfod agosaf i gynllun ein Harglwydd wrth ei fwrdd yntau. Hon yw yr agwedd gyfaddasaf â'r meddylddrych fod swper yr Arglwydd megys gwledd; ac y mae yn ddiamheuol mai troi y *bwrdd* yn *allor* a ddygodd i mewn y ddefod o benlinio wrtho.[2]

G. 75. Ond paham y gwrthwyneba yr *Ymneillduwyr seremoni mor ddibwys* a phenlinio yn y sacrament, gan nad ydynt yn petruso penlinio wrth weddio?

A. 1. Nis gallant ei golygu yn seremoni ddibwys, tra, yn ol fel y mae yr Eglwys wedi ei gorchymyn, y mae yn ymddangos yn dra thebyg i addoliad yr elfenau, ac a gyfododd o'r addoliad Pabaidd o honynt, megys gwir gorff a gwaed Crist.

2. Heblaw hyny, y mae Eglwys Loegr yn *gosod* penlinio fel amod angenrheidiol o gymundeb; ac o herwydd y rheswm hwn yn unig (a thybied ei fod yn ddibwys ynddo ei hun) ni ddylid ymostwng iddo.

G. 76. Onid ydyw yr *Ymneillduwyr* yn gwneuthur eistedd wrth dderbyn yn amod o gymundeb?

A. Nag ydynt; y mae y cymunwyr yn eu plith hwynt yn cael cyflawn ryddid i arfer yr agwedd a ddewisant oreu, a gwyddis fod rhyw ychydig o honynt yn arfer penlinio.

G. 77. Onid oes rhai *seremonïau* eraill yn cael eu cadw yn Eglwys Loegr?

A. Y mae ynddi amryw ddefodau y rhai ydynt gyfranogion o natur seremonïau, ac yn agored bron i'r un gwrthddadleuon; megys, arfer gwisgoedd neillduol—cadw dyddiau arbenig fel yn sanctaidd—y gwahaniaeth mewn lleoedd—a defnyddio meichiau mewn bedydd; y cwbl o honynt ydynt o ddyfais ddynol yn hollol, ac yn osodiadau gormesol.

G. 78. Beth sydd yn wrthodadwy yn nghylch y gwisgoedd?

1 Agwedd y dwyreinwyr wrth fwyta oedd lled-orwedd ar esmwyth-feingciau o gylch y bwrdd, gan gynal eu hunain trwy bwyso y penelin aswy arno.
2 Y Pab *Honorius* a ordeiniodd y ddefod o *benlinio* gyntaf, yn B.A. 1214.

A. Heblaw y gwahaniaeth a wneir yn null a lliw eu gwisgoedd yn ol gwahanol urddau y Llênwyr, pryd bynag y darllenant y gweddiau, neu weinyddu y sacramentau, neu ddefodau eraill, maent yn rhwym o wisgo y *wenwisg*,[1] yr hon a wneir o lian gwyn, megys arwydd o burdeb; yr hon, os bydd pregeth, a ddodir dros y dillad eraill, ac a ddiosgir pan derfyno y gweddiau.

G. 79. Beth yw *barn* yr *Ymneillduwyr* am y gwisgoedd hyn?

A. Maent yn eu hystyried megys creiriau coel-grefydd babaidd, yn enwedig y wenwisg a'r newid dillad yn amser y gwasanaeth dwyfol; ond y maent yn gwrthwynebu yn neillduol i arddodiad un math o wisg yn addoliad Duw; er nad ydynt yn golygu fod un dull na lliw yn bechadurus ynddo ei hun, mwy nag arall.

G. 80. Pa ddyddiau y mae yr eglwys yn eu gosod i'w cadw yn sanctaidd?

A. Dim llai na chant a haner yn y flwyddyn,[2] heblaw dydd yr Arglwydd; sef, naw-ar-hugain o wyliau, un-ar-bymtheg o nos-wyliau, (neu ymprydiau o flaen y dydd-gwyliau;) deugain ympryd yn y Garawys, deuddeg o ddyddiau cyd-goriau, tri o ddyddiau gweddiau, pedwar o ddyddiau arbenig, a'r holl Wenerau yn y flwyddyn (oddieithr y Nadolig), y rhai ydynt chwech-a-deugain, heblaw y cyfryw sydd yn y Garawys.

G. 81. Oni chedwir rhai o'r dyddiau hyn gyda rhwysg-fawredd *neillduol*?

A. Gwneir; *Dydd Nadolig*, *Gwener y Croglith*, *Sul y Pasg*, a'r *Sul Gwyn*; ar y cyfryw ddyddiau, (oddieithr *Gwener y Croglith*, yr *hwn sydd* ympryd arbenig), y mae y cymun yn yr holl blwyfau, ac mewn

1 Y wenwisg a wisgwyd gyntaf gan offeiriaid Paganaidd, ac a ddygwyd i Eglwys *Rhufain* gan y Pab *Adrian*, yn B.A. 796.

2 Gwel y Calendar a Thabl y gwyliau, &c. Os dywedir na fwriadwyd cadw yr holl ddyddiau hyn yn sanctaidd, fe atebir fod Canon 13eg mor fanwl yn gorchymyn eu cadwraeth hwynt â Dydd yr Arglwydd. Os tybir yn awr fod yn ddiangenrhaid eu cadw, paham na ddiddymid hwynt.

llawer o honynt, ar y dyddiau hyn yn unig yn yr holl flwyddyn.

G. 82. Pa wrthwynebiad sydd gan *Ymneillduwyr* i osodiad y gwyliau hyn?

A. 1. Mae yn anmhosibl cadw llawer o honynt heb esgeulusiad beius o orchwylion tymorol.

2. Mae y fath drefniadau yn meithrin ofer-goeledd ac ewyllys-grefydd, ac yn oganiad dirgel ar Ben mawr yr eglwys, yr hwn ni orchymynodd gadw un diwrnod yn sanctaidd ond y Sabboth wythnosol.

3. Rhai rhanau o'r Ysgrythyr a'u gwrthwyneba hwynt yn gadarn, yn enwedigol, Gal. iv. 9—11. "Pa fodd yr ydych yn troi drachefn at yr egwyddorion llesg a thylodion? Cadw yr ydych ddiwrnodiau a misoedd, ac amseroedd, a blynyddoedd. Y mae arnaf ofn am danoch rhag darfod i mi boeni wrthych yn ofer."

G. 83. Pa beth yn neillduol a ddywedir yn erbyn cadw *dydd-gwyliau 'r seintiau*?

A Y mae yn ymddangos yn debyg i addoliad ysprydoedd ymadawedig fel yr arferir yn Eglwys Rhufain, ac felly yn tywys i Babyddiaeth, fel y mae yn amlwg iddo darddu oddi yno.

G. 84. Pa *wahaniaeth lleoedd* sydd nodedig yn yr eglwys sefydledig?

A. Heblaw sancteiddrwydd tybiedig yr adeilad gysegredig, yn anmhriodol a elwir, *yr Eglwys*, sancteiddrwydd priodol yr *allor*, a deilynga sylw neillduol. Y bwrdd cymun, (yr hwn oddi wrth y dyb Babaidd o aberth y cymun, a alwyd yn *allor*,) a ddodir yn y *gangell*, yr hon a saif yn y pen *dwyreiniol* i'r *Eglwys*, ar esgynfa, ac a gylchynir â chanllawiau, tu fewn i'r rhai yr â yr offeiriad yn unig. I'r hon y daw efe o'r *ddarllenfa* yn nghanol y gweddiau, i ddarllen rhan o wasanaeth y cymun, er na bydd yno gymundeb, sef y gorchymynion, yr epistolau, yr efengylau, a'r *offrwm-wasanaeth*.[1]

1 Yr *offrwm-wasanaeth* yw ymadroddion o'r Ysgrythyr yn gorchymyn haelioni i'r tylodion, ac i'r Llênwyr, y rhai a gesglir tra y darllenir hwynt. Yn rhai eglwysi mae yr allor mor bell fel nas gall nemawr o'r bobl glywed. D.S. Rhaid i'r offeiriad sefyll wrth y tu *gogleddol* i'r bwrdd.

G. 85. Beth ydyw swydd *meichiafon* yn medydd babanod?

A. Meichiafon, (neu fel eu gelwir yn gyffredin, *tadau* a *mamau bedydd*) a gynrychiolant y plentyn[1] yn ei febyd, ac a ymrwymant yn ddifrifol i'w addysgu yn grefyddol, ac hyd yn oed addaw ac addunedu tri pheth yn ei enw. 1. "Ymwrthod â diafol a'i holl weithredoedd, rhodres a gorwagedd y byd anwir hwn, a holl bechadurus chwantau y cnawd. 2. I gredu holl bynciau ffydd Crist. 3. I gadw o hono wynfydedig ewyllys Duw a'i orchymynion, a rhodio ynddynt holl ddyddiau ei fywyd."

G. 86. Beth ydyw y prif *wrthddadleuon* yn erbyn swydd meichiafon?

A. 1. Mae yn cau allan y rhieni oddiwrth ofalu am addysg eu plant eu hunain, y rhai yn gyffredin, ydynt gymwysaf i'w gymeryd, a'r rhai, wedi y cwbl, a raid gymeryd y gofal penaf yn ei gylch.[2]

2. Mae yn orthrymder i orfod darparu tri meichiau i bob plentyn, pan nad oes neb yn rhwymedig i gymeryd y swydd arnynt.

3. Mae yn gwneuthur ychwanegiad dynol at yr hyn a ystyria llawer yn ordinhâd Crist, ac yn amod newydd o'i derbyn hi; canys ni ellir bedyddio neb yn Eglwys Loegr heb feichiafon.[3]

4. Mae yr amod y fath nas gall neb ei gyflawni yn llythyrenol. Nis gall y dyn goreu ar y ddaear fod yn atebol am ffydd neu ymddygiad un arall.—Os dywedir, "Yr oll a ellir ei feddwl fod y meichiafon yn ei

Y gwasanaeth priodas hefyd a gyflawnir wrth yr allor, yr hyn sydd weddill Pabyddiaeth amlwg, yr hwn a wna briodas yn un o'r saith sacrament. O.

Gan fod y briodas-ddeddf a wnaed yn 1837, yn gallnogi yr Ymneillduwyr i briodi yn eu haddoldai eu hunain, (wedi eu cof-restru yn briodol at hyny,) neu yn swyddfa y cof-restrwr, dylai pawb o honynt, yn gyson a'u proffes wneyd felly, yn lle cadw i fynu weddill Pabyddiaeth, ac arferiad gwasanaeth ag y mae ynddo *rai* ymadroddion *annestlus*. O.

1 Bydd raid i bob plentyn gwrryw gael dau dad bedydd, ac un fam fedydd, ac i bob plentyn fenyw un tad bedydd, a dwy fam fedydd. D.S. Nid oes genym hanes am yr un yn gynt na'r pumed canrif.

2 Sylwer. Yn ol Canon 29ain, ceuir allan y rhieni yn benodol rhag bod yn feichiafon, ac hyd yn oed a esgusodir o fod yn bresenol.

3 Maent yn cael eu gadael heibio mewn bedydd neillduol, sef *haner bedydd*; defod y mae yn anhawdd dirnad am unrhyw sail rhesymol iddi. Ei dechreuad yn ddiau, oedd yr un a hono oedd yn caniatâu i fydwragedd fedyddio, sef y dyb nas gallai neb a fyddai farw yn ddifedydd fod yn gadwedig.

addaw yw, y bydd iddynt ddefnyddio pob *moddion* priodol, fel y gallo y' plentyn ddeall a chredu holl bynciau ffydd Crist, a meithrin buchedd dduwiol a Christionogol :" Fe atebir—

5. Fod hyd yn oed *hyny* yn ormod i neb ei addaw ag nad ydyw yn bwriadu cymeryd y gofal penaf yn addysgiad y plentyn; yr hyn nis gellir ei dybied fod y meichiafon yn gyffredin yn ei fwriadu, nag ychwaith yn alluog i'w gyflawni. A hawdd y gellir tybied, fod llawer o ddynion anwybodus ac anfoesol, trwy yr angenrheidrwydd o gael meichiafon, ac o ddiffyg rhai gwell, yn cael eu hudo i ragrith a gwawd arswydus o Dduw, trwy addaw yr hyn nad oeddynt byth yn meddwl ei gyflawni. Gwyddis o ganlyniad fod hyn yn beth tra chyffredin.—Ac felly

6. Mae bedydd babanod nid yn unig yn dirywio yn hollol i seremoni, eithr yn dyfod yn achlysur o bechod. Yr arferiad o feichiafon trwy *ddirprwy*, sydd yn goeg-chwareuol a halogedig.

# ADRAN V.

## AM DANYSGRIFIAD ERTHYGLAU.

G. 87. Ar ba *amodau* y derbynir Gweinidogion i Eglwys Loegr?

A. Gofynir iddynt danysgrifio a datgan eu cydsyniad calonog â rhyw bynciau neillduol o'r ffydd, a elwir yn gyffredin, y *namyn un deugain Erthyglau*,[1]

1 Eu teitl hwynt ydyw; "Erthyglau a gytunwyd arnynt gan Archesgobion ac Esgobion y ddwy dalaeth, a'r holl eglwyswyr, yn y Gymanfa a gynhaliwyd yn Llundain, yn y fl. 1562, er mwyn gochelyd amrafael opiniynau, a chadarnhau cysondeb yn nghylch gwir grefydd." Ei Fawrhydi yn ei Ddeclarasiwn o'u blaen hwynt, "a waharddа i'w holl ddeiliaid caredig yr anghydfod lleiaf oddiwrthynt; na rhoddi eu synwyr neu eu deongliad eu hunain i fod yn feddwl iddynt, eithr eu cymeryd yn ystyr y llythyren a'r Gramadeg."—Ac er hyny dywedir yn fynych, y gall dynion o syniadau tra gwahanol eu tanysgrifio hwynt, ac hyd yn oed y Dr. *Paley* a gynygia brofi, y gall unrhyw ddyn ei wneuthur nad yw yn *Babydd*, *Puritan*, neu *Fedyddiwr*.

D.S. Pob dyn ieuanc ar ei dderbyniad i Brif-ysgol Rhydychain, sydd yn rhwymedig i danysgrifio yr Erthyglau hyn, ac yn mysg pethau eraill, "Y gall cynghorau cyffredinol gyfeiliorni, a bod Eglwys *Jerusalem*, *Alexandria*, &c., wedi cyfeiliorni, felly, (megys y sylwodd Llênwr dysgedig) hyd yn oed plant a

megys heb fod mewn dim yn annghytunol â Gair Duw.

G. 88. Oni addefir yn gyffredinol fod yr Erthyglau hyn yn *uniawn-gred*? Paham gan hyny y gwrthwyneba yr Ymneillduwyr hwynt?

A. Nid yw y ddadl gyda *ni* am ystyr yr Erthyglau, (er fod hyny yn cael ei ddadleu yn frwd yn mysg y Llênwyr eu hunain[1]) ond yn nghylch yr *awdurdod* a hónir gan ddynion ffaeledig i wneuthur Erthyglau ffydd i eraill i'w tanysgrifio, fel cymwysder angenrheidiol i bregethu yr efengyl: yr awdurdod hon y mae Eglwys Loegr yn ei hòni yn benodol.

edrychir arnynt gan Eglwys Loegr, fel yn addas i farnu yn nghylch gosodiadau y cynghorau, ac i'w beio pan ganfyddant hwynt yn gyfeiliornus." *Ben. Mord. Inquiry*, p. 36.

1 Haera rhai fod yr Erthyglau yn *Galfinaidd*, eithr eraill a wadant hyny yn gadarn. *See Dean Tucker's Letters to Kippis, and a Dissert on Art.* 17. Hefyd Traethawd Esgob Lincoln, a elwir *Gwrthbrawf o Galfiniaeth; ac atebiad Scott iddo.* Ond y 39 Erthyglau a gynwysant lawer o byncian eraill heblaw y rhai a berthynant i'r ddadl hon, y cyfryw nas gall Ymneillduwyr *Calfinaidd*, mwy nag eraill eu tanysgrifio Y rhai a'u cymwysant eu hunain trwyddynt gynt, nid oeddynt yn wybodus o hyn, sef,

Erth. III. "Fod Crist wedi disgyn i *uffern;*" h.y., *i le y damnedigion.* Felly y meddylia y cyfansoddwyr.

Erth. IV. "Fod Crist wedi dyrchafu i'r nefoedd, gyda chnawd ac esgyrn, a phob peth a berthyn i berffeithrwydd naturiaeth dyn; yn wrthwynebol i 1 Cor. xv. 50.—Hefyd, "Ei fod yn eistedd yn y nefoedd hyd oni ddychwelo i farnu pob dyn y dydd diweddaf; yr hyn nis gall y mil-flwyddiaid gydsynio ag ef.

Erth. VI. "Fod prawf llyfrau canonaidd yr Ysgrythyrau yn gyfryw na bu erioed *ddim ameu* yn yr Eglwys am eu hawdurdod;" yr hyn nid ydyw i gael ei gymwyso at yr *Hebreaid, Iago* yr 2il a'r 3ydd, Epistolau *Ioan*, 2 *Petr*, *Judas*, a'r *Datguddiad*, nac at rai rhanau o'r Hen Destament.

Erth. VIII. "Fod credo *Nicea*, credo *Athanasius*, a chredo yr *Apostolion*, i gael yn gwbl eu derbyn, oblegyd fe ellir eu profi trwy ddiddadl warantrwydd yr Ysgrythyr Lân;" er eu bod yn annghyson a'u gilydd, ac mewn rhai pynciau yn wrthwynebol i'r 1af a'r 2il o'r Erthyglau. *See Ben. Mord. Inquiry*, pp. 34, 35.

Erth. XXIII. "Nid cyfreithlawn i neb gymeryd swydd pregethu, neu *finistrio* y Sacramentau, heb gael ei alw i'r gwaith hwn gan ddynion sydd ag awdurdod gyhoedd."

Erth. XXXIII. "Fod y dyn a iawn dorer ymaith oddiwrth undeb yr Eglwys, i gael ei gymeryd megys dyn cenhedlig, hyd oni *chymoder ef yn gyhoedd trwy benyd*, a'i dderbyn i'r Eglwys gan *farnwr y bo iddo awdurdod i hyny.*" Wrth danysgrifio y cyfryw, Gweinidog Ymneillduaidd a dystiolaethai ei gymeradwyaeth o gyfansoddiad y llysoedd ysprydol, ac o'r athrawiaeth Babaidd o *benyd*, ac a gydsyniai i'w euogfarnu ei hun a'i holl frodyr. Gwel gofyniad 97, Sylwnod a gofyniadau 112—118.

Erth. XXXVII. "Fod Duw ei hun, yn yr Ysgrythyr Lân, wedi rhoddi i bob tywysogion duwiol yr hawl i lywodraethu yn mhob peth eglwysig fel y pethau tymhorol."

Os bydd unrhyw ddarllenydd yn ameu ystyr un o'r Erthyglau hyn, efe a gaiff gwbl foddlonrwydd oddiwrth "*Adolygiad y Dr. Wilson o rai o honynt.*"

Gwel Erth. XX. "Y mae i'r Eglwys allu i osod cynheddfau a seremoniau, ac *awdurdod mewn amrafaelion yn nghylch y ffydd.*" I wirionedd neu anwiredd yr haeriad hwn y gellir crynhoi yr holl ddadl sydd rhwng yr Eglwys a'r Ymneillduwyr. See *Furn's Letters to Blackstone*, p. 140. Ymae yn amgylchiad hynod, na wyddir yn gyffredin fod y ddosran hon, (pa un sydd yn annghyson a'r Erthygl flaenorol, a'r rhan ddilynol o hon,) yn gau-ychwanegiad. Ni

G. 89. Pa beth yn neillduol a *wrthddadleuir* yn erbyn gofyn y cyfryw danysgrifiad?

A. 1. Na roddodd Crist erioed y fath awdurdod i un dyn, neu gorff o ddynion.

2. Na ddichon neb fod yn gymwys i'w wneuthur heb fod yn anffaeledig.

3. Ei fod yn achwyniad dystaw ar yr Ysgrythyr Lân, megys pe na byddai yn ddigon eglur.

4. Ei fod yn drawsdoriad o ryddid Cristionogol, ac yn tueddu i ddigaloni rhydd-ymofyniad am y gwirionedd.

5. Y gall fod yn foddion i daenu a sefydlu cyfeiliornad; a rhaid iddo fod felly mewn gwahanol Eglwysi, y rhai y mae ganddynt oll (ac Eglwys *Rhufain* yn mysg y lleill) hawl gyfartal i ofyn tanysgrifiad i'w priodol dybiau.

6. Ei fod yn tueddu i gadw dynion ymofyngar, cydwybodol, a galluog, allan o'r Eglwys, tra y mae yn derbyn rhai segur, anwybodus, ac ariangar; y cyfryw naill a gymerant wirionedd yr Erthyglau yn ganiatäol, neu, er mwyn eu hamcanion eu hunain a danysgrifiant unrhyw Erthyglau eraill, er yn wrthwynebol i'r rhai hyn.

G. 90. Beth yw y *rheswm penaf* a ddefnyddia yr Eglwys i *amddiffyn* ei chais am danysgrifiad?

A. Ei fod yn angenrheidiol i sicrâu unffurfiaeth barn yn mysg ei gweinidogion.[1]

G. 91. Beth a atebir i'r rheswm hwn?

A. 1. Nad ydyw unffurfiaeth barn yn angenrheid-

ddodwyd hi i mewn gan y cyfansoddwyr yn 1562: yr oedd yn anadnabyddus i'r Gymanfa yn 1571, ac nid oedd yn y llyfr a sefydlwyd y pryd hwnw gan y senedd, megys yr addefa y Dr. *Fuller*. Yn y "*Syntagma Confessionum*," a gyhoeddwyd yn *Genera* yn 1612, er fod yr holl Erthyglau eraill yn gyfan, yr XX. a ddechreua gyda'r geiriau hyn: "*Ecclesiæ non licet quicquam constituere quod verbo Dei adversatur*;" h.y., "*Nid cyfreithlon i'r Eglwys ordeinio dim a'r sydd wrthwyneb i ysgrifenedig air Duw.*" Llythyr *Hale* at Archesgob *Laud* yn 1636, o angenrheidrwydd a arwydda nad oedd y ddosran yn awdurdodedig. A dywed *Heylen* fod yn 1634, gopiau Lladin o'r Erthyglau wedi eu hargraffu yn Rhydychain hebddi, a bod ganddo ef y fath argraffiad wedi ei wneyd yn 1636, yn Argraffwasg y Brif-Ysgol. See Mr. *Pope's* Letters to *Nisbet*, p. 153. Y mae yn aros i gael ei ddatguddio, pa bryd, a chan bwy y dodwyd y ddosran uchod i mewn, a phaham na ddileir hi.

1 Ychydig o engreifftiau a ddengys na wna—hyn oedd dadl Esgob Lincoln a Scott gynt, ac ydyw un Esgob Exeter a Gorham eto.

iol er adeiladaeth Gristionogol, ac nis gellir ei dysgwyl yn y sefyllfa bresenol.

2. Pe byddai felly, nid gorchymyn tanysgrifiad i Erthyglau yw y ffordd i'w sicrâu; canys nid yw yn ngallu cyfraith eglwysig i gyfnewid cred dynion, er y gall gyfnewid eu proffes.

3. Fod meddwl yr Erthyglau eu hunain yn amheus, a dynion o syniadau tra gwahanol yn proffesu yn onest eu tanysgrifio hwynt.

4. Nad ydyw yn ymddangos ei bod yn gofalu cymaint yn nghylch unffurfiaeth *ffydd* yn ei Llênwyr ag unffurfiaeth *tanysgrifiad*; canys er eu bod oll yn rhwym i danysgrifio yr un Erthyglau, ni wneir un ymofyniad a ydynt yn pregethu yn unol â hwynt, ac ni chymerir dim sylw o'r rhai a'u gwadant.

G. 92. A oes *amrywiaeth barnau* yn mysg y *Llênwyr* er eu tanysgrifiad?

A. Mae cymaint o amrywiaeth barnau yn mysg y Llênwyr Sefydledig, ag sydd yn mysg un corff arall o weinidogion, fel yr ymddengys oddiwrth eu pregethau a'u hysgrifeniadau, yr hyn sy'n achosi llawer o ddadleu yn eu plith; a'u bod oll wedi tanysgrifio yr un Erthyglau yn achosi iddynt waradwyddo eu gilydd.

G. 93. Onid ydyw *Ymneillduwyr* yn gofyn *cyffes ffydd* gan eu gweinidogion pan fyddont yn cael eu hurddo?

A. Y cyffredinolrwydd o honynt a ddysgwyliant gael un, eithr y mae hono yn un wirfoddol, ac yn wastad yn ngeiriau y gweinidog ei hun; yr hyn sydd beth tra gwahanol i danysgrifio ffurf benodol fel amod i gael derbyniad i'r swydd weinidogaethol.

G. 94. A ofynir *dim arall* gan y Llênwyr heblaw tanysgrifio y namyn un deugain Erthygl?

A. Gwneir; y maent yn rhwymedig i ddatgan eu crediniaeth, nad oes dim yn y Llyfr Gweddi Gyffredin, a Llyfr yr Urddiad, yn wrthwynebol i Air Duw.

G. 95. Pa beth sydd yn *afresymol* yn hyn?

A. Mae yn anhawdd meddwl fod mewn cyfrol mor

fawr, wedi ei chyfansoddi mor fuan wedi'r Diwygiad oddiwrth Babyddiaeth, bob peth yn berffaith gyfatebol i Air Duw; neu fod corff mor lluosog o bobl ag ydyw'r Llênwyr yn credu eu bod felly; neu yn wir, fod y fath grediniaeth yn angenrheidiol i'w gwneuthur yn gymeradwy a defnyddiol weinidogion i Grist.

G. 96. A ydyw yr Eglwys yn gofyn rhywbeth *ychwaneg* gan y Llênwyr yn flaenorol i'w hurddiad?

A. Ydyw; y maent yn rhwymedig i dyngu ufudd-dad i'r Esgob, Rhaglaw yr Esgob, a'u holynwyr, yn mhob peth a ofynir yn y Canonau. Hyn a elwir yn ufudd-dod Canonaidd.[1]

G. 97. Paham yr ymddengys y cais hwn yn *feius*?

A. Am nad ydyw y Testament Newydd yn gorchymyn y fath ymostyngiad gan weinidogion Crist y naill i'r llall, nac i un blaenor dynol; ac am fod rhai o'r Canonau hyn y cyfryw nas gall llawer o weinidogion dysgedig a chydwybodol ufuddhau iddynt.[2]

G. 98. Gan mai y *Llênwyr yn unig* sydd yn rhwymedig i danysgrifio, paham y rhaid i'r *Lleygwyr* wneuthur hyny yn wrthddadl yn erbyn eu *cydffurfiad*?

A. 1. Gall y Lleygwyr yn gyfiawn fod yn anfoddlon i'r fath Eglwys, yr hon a ofyn y cyfryw amodau afresymol ac anysgrythyrol o gydffurfiad oddiwrth ei Llênwyr. Yn enwedig, fel y mae,

2. Yr elw cysylltedig a'r tanysgrifiadau hyn yn

1 Nid ydyw y llw o ufudd-dod Canonaidd yn cael ei phenu i'r Canonau yn 1603, (y rhai ydynt 141 mewn nifer,) o herwydd y mae llawer o'r hen *Ganonau Pabaidd* yn parhau mewn cyflawn rym. Fe gydunir yn gyffredin mai Canonau *Laud*, yn 1640, a rwyma y Llênwyr, megys yr aethant trwy y Gymanfa; yn ganlynol i hyn, Esgob *Gibson*, yn ei *Ddeddflyfr Eglwysig*, a gyfeiria atynt yn wastad megys yn gwneuthur felly.

2 Y Llênwyr, yn mysg pethau eraill, ydynt yn rhwym wrth y Canonau hyn, pa bryd bynag y mynai yr Esgob, neu ei Raglaw iddynt, i gyhoeddi dedfryd o esgymundod yn erbyn pwy bynag a feiddiai ddywedyd dim yn erbyn y Llyfr Gweddi Gyffredin, neu wadu un o'r 39 Erthyglau—neu gondemnio un o seremoniau yr Eglwys—neu wadu awdurdod yr Archesgobion, Deoniaid, neu Archddeoniaid, &c.,—neu haeru fod cynulleidfaoedd o Ymneillduwyr Protestanaidd yn wir eglwysi. D.S. Yr esgymundod yn yr holl amgylchiadau yw *ipso facto*. (Gwel Canonau 1603. Rhif. 2–12.) Yn mhlith eraill o waharddiadau hynodol yn y Canonau hyn, y mae y rhai a ganlyn:—"Ac ni chaiff un gweinidog, *heb drwydded neu drefniad yr Esgob*, benodi na chynal dim cyfarfodydd pregethu—na chynyg ar un cyfrif i fwrw allan unrhyw GYTHRAUL neu GYTHREULIAID." Canon 72.—"Yr ydym yn mhellach yn penodi na chaiff un gwr eglwysig wisgo unrhyw *gap nos* gweithiedig, nac unrhyw *hosanau o liw golau*," &c., Canon 74.

brofedigaeth gref i hocedu, ac yn tueddu i ddwyn y dynion hyny i mewn i'r Eglwys ag ydynt fwyaf annghymwys i gymeryd gofal eneidiau; yn gystal a chadw allan rai o'r dynion mwyaf cydwybodol, ag ydynt wedi eu cyfaddasu i'r fath ymddiried.

3. Mae yn gweddu i ddynion cywir oll ddwyn eu tystiolaeth yn erbyn pob arddodiadau mewn achosion crefydd, er na effeithir yn uniongyrchol arnynt hwy eu hunain ganddynt; ac i gefnogi y gweinidogion hyny, y rhai ar egwyddor o gydwybod sydd yn ymddidoli o'r Eglwys Wladol.

## ADRAN VI.

### YN NGHYLCH DEWISIAD GWEINIDOGION.

G. 99. Pa fodd y mae cynulleidfaoedd *yn cael eu cynysgaeddu â gweinidogion* yn Eglwys Loegr?

A. Llawer o fywiolaethau, fel eu gelwir, ydynt yn rhodd gan y Brenin; (megys y mae yr holl Esgobaethau mewn effaith) rhai gan yr Arglwydd Gangellydd; rhai gan yr Esgobion; a rhai gan y Prif-ysgolion: eithr llawer ydynt yn perthyn i'r pendefigion a'r boneddigion. Pob un y mae ganddo fywioliaeth i'w rhoddi, (yr hwn a elwir yn noddwr) a all gyflwyno y neb a ewyllysio iddi, ac ni fedd y bobl ryddid i wrthwynebu, na'r Esgob i wrthod, (oddieithr mewn ychydig amgylchiadau) i roddi ordeiniad, a gosod mewn meddiant.[1]

G. 100. Beth ydyw'r *canlyniadau drwg* oddiwrth yr awdurdod hon gan y noddwyr?

A. Y gweinidog a osodir fel hyn sydd yn fynych yn annghytunol gan y bobl, ac weithiau yn gywilyddus annghymwys i'w swydd, am fod dyrchafiad yn fwy cyffredin yn cael ei gyraedd trwy ffafr na thrwy deilyngdod. Noddwyr annghrefyddol bywioliaethau

1 Y bywiolaethau, (h.y., yr hawl i roddi neu gyflwyno personiaeth,) a ellir eu prynu, ac yn gyffredin a hysbysir yn y papurau newyddion.

a'u rhoddant yn hytrach i'r fath Lênwyr ag a'u gwnant eu hunain yn gymdeithion cyfatebol iddynt hwy, neu wasanaethu er eu budd gwladwriaethol, nac i'r cyfryw a fyddant ffyddlon i eneidiau dynion.

G. 101. Pa fodd y mae *Ymneillduwyr* yn meddwl y dylid cyflenwi cynulleidfaoedd â gweinidogion?

A. Maent yn barnu nad oes dyn wedi ei awdurdodi i arddodi gweinidog ar eraill, eithr fod gan bob cynulleidfa hawl i ddewis un iddi ei hun.

G. 102. Pa fodd y maent yn *amddiffyn y dyb hon?*

A. Ymddengys mor resymol i bawb gael dewis eu gweinidogion eu hunain ag ydyw iddynt ddewis eu cyfreithwyr neu eu meddygon eu hunain. Mae arddodiad yn yr achos cyntaf, yn ddiau, yn llawer mwy afresymol nag yn yr olaf, megys ag y mae llesiant yr enaid yn llawer mwy pwysig na'r eiddo y corff.

G. 103. Onid ydyw yn well i'r *Llênwyr* fod y bobl yn rhwymedig i dderbyn y rhai a anfonir fel hyn atynt?

A. Mae yn well, yn ddiau, mewn golygiad tymorol, i'r rhai hyny sydd mewn ffafr gan wŷr mawrion, ac heb ddim ganddynt i'w cymeradwyo eu hunain i'r bobl; ond nid i'r cyffredinolrwydd o'r Llênwyr, na'r rhai mwyaf teilwng o honynt, llawer llai i'r Eglwys; o herwydd fod gwir ragoriaeth cymeriad, yn enwedig gostyngeiddrwydd a ffyddlondeb yn y swydd gysegredig, yn rhy fynych yn cael ei deimlo yn atalfa i ddyrchafiad yn hytrach na moddion i'w gael. Pe byddai dewisiad gweinidogion yn aros yn y bobl, y pregethwyr goreu yn y cyffredin a gaent y flaenoriaeth, ac fel hyn byddai cymelliad grymus i gydymegniad yn mysg y Llênwyr.

G. 104. Onid ydyw dewisiad gweinidogion yn mysg yr Ymneillduwyr yn cael ei ddilyn yn fynych âg *ymrysonau* ac *ymraniadau?*

A. Diau ei fod felly weithiau, ond nid ydyw yn fynych, mewn cydmariaeth, a llawer llai felly o angenrheidrwydd. Pa fodd bynag, dichon i'r trefniad-

au goreu gael eu dilyn â rhyw annghyfleusdra; a'r un rheswm yn gymwys a wnai i wrthwynebu dull dewisiad Cynrychiolwyr i'r Senedd.

G. 105. Ond a ydyw y *bobl* yn *farnwyr* priodol o gymwysderau gweinidog?

A. Gellir meddwl eu bod yn gyffredin gystal barnwyr drostynt eu hunain yn yr achos hwn ag ydyw noddwyr bywioliaethau drostynt, y rhai yn fynych ydynt hollol ddyeithrol i'r plwyfolion. Os barnant yn annghywir mewn rhai amgylchiadau, y maent yn gyfrifol i Dduw yn unig. Ac os, oddiar brawf, y canfyddant iddynt ddewis dyn annghymwys, hwy a allant ei ddiswyddo wrth eu hewyllys.

G. 106. A ydyw yr *Ysgrythyr* yn rhoddi i'r *bobl* yr hawl o ddewis eu gweinidogion eu hunain?

A. Ymddengys hyn yn hawl naturiol; gan hyny y mae yn gorphwys ar y rhai a fynant eu difeddianu hwynt o honi i brofi fod yr Ysgrythyr yn eglur wedi rhoddi yr awdurdod hono iddynt. Pa fodd bynag, y mae hawl y bobl i ddewis eu gweinidogion eu hunain yn beth ag a amddiffyna yr Ysgrythyr yn eithaf eglur.[1]

G. 107. Onid all plwyf *symud Llenwr*, yr hwn a dry allan yn hynod o anfoesol, neu anwybodus?

A. Nid heb ei wysio i'r llys ysprydol; erlyniadau pa un ydynt mor araf a chostus, fel y digalona dynion mewn sefyllfa gyffredin bywyd rhag rhoddi eu cwynion ynddynt.

## ADRAN VII.

### YN NGHYLCH DYSGYBLIAETH YR EGLWYS.

G. 108. Pa beth sydd y dywedir yn ei erbyn yn *Nysgybliaeth* yr Eglwys Sefydledig?

1 Cynghorir Cristionogion i beidio credu pob yspryd, eithr profi yr ysprydion, ai o Dduw y maent, 1 Ioan iv. 1. I ochelyd gau-broffwydi, Mat. xxiv. 24. Ac i edrych pa fodd y clywont, Luc viii. 18. Yr hyn sydd yn annghyson ag ymostyngiad i'r rhai hyny fel hyfforddwyr ysprydol, ac a osodwyd arnynt gan ddynion eraill.

Pan oedd apostol i gael ei ddewis yn lle *Judas*, fe ymofynwyd a *holl gorff* y dysgyblion yn yr achos, Act. i. Ac hyd yn oed y saith Diacon ni ddewiswyd gan yr apostolion, ond gan yr holl liaws. Act. vi.

A. Ei bod yn gywilyddus ddiffygiol a llygredig, yn neillduol yn nerbyniad dynion at fwrdd yr Arglwydd.

G. 109. Pwy y mae yr Eglwys yn eu derbyn i'w *chymundeb*?

A. Nid oes neb, pwy bynag, yn cael ei wrthod, a gonffirmiwyd gan yr Esgob, ac sydd heb eu hesgymuno, er eu bod yn euog o anfoesoldeb dirfawr; a llawer a oddefir, ïe, a orfodir i dderbyn swper yr Arglwydd yn unig fel cymwysder i swydd wladol.[1]

G. 110. Onid all y gweinidog *wrthod* y rhai y mae yn wybodus eu bod *o gymeriadau anfoesol*?

A. Na all; er fod y *Rubric* yn gorchymyn i'r Llênwyr rybuddio "unrhyw ddrwg-fucheddwr, fel na ryfygo ddyfod at fwrdd yr Arglwydd," gall y pechadur mwyaf gwarthus yn y plwyf, os caiff ei wrthod, apelio at y llŷs eglwysig; ac os gall efe enill ffafr y Cangellydd, gall hawlio derbyniad, a beiddio'r gweinidog, ac hyd yn oed yr Esgob ei hun i'w gau allan.

G. 111. Beth fyddai y *canlyniad* pe gwrthodai y gweinidog yn ddiysgog a chydwybodol y Sacrament i ddyn drygionus, neu fel cymwysder i swydd wladol?

A. Efe a fyddai yn agored i ddiswyddiad am y cyfryw omeddiad, ac os na wnai gydsynio, i esgymundod,[2]

G. 112. Onid ydyw yr Eglwys yn goddef *cymeryd* sylw *o anfoesoldeb* ei haelodau?

A. Ydyw; ond ni ddichon gweinidog y plwyf, na neb o'r gynulleidfa, arfer un math o ddysgyblIaeth, rhaid dwyn eu beiau ger bron y llŷs ysprydol, lle mae Cangellwŷr yn farnwyr, y rhai, yn fynych, ydynt

1 Wedi diddymiad y deddfau bwrdeisiol a phrawfol, gellir myned i swyddau gwladol heb dderbyn swper yr Arglwydd yn gymwysder i hyny. Dylai pawb, yn enwedig Ymdeillduwyr, ddyolch i'r Arglwydd am yr ymwared hwn, rhag halogi yr ordinhâd, digio ei hawdwr, clwyfo cydwybodau ei blant, ac achosi maintais i anffyddwyr gablu crefydd. Bu y flaenaf o'r deddfau uchod yn fflangell drom am 167 o flynyddau, a'r olaf felly am 155. Θ.

2 Trwy ddiddymiad y deddfau a enwyd, nis gellir gorfodi gweinidogion Eglwys Loegr i roddi y sacrament i neb fel cymwysder i swydd, eithr nid ymddengys fod dim gwelliant yn y gyfraith eglwysig er galluogi gweinidogion cydwybodol i atal rhai anfoesol i'r sacrament yn ddiberygl, yn enwedig, os bydd y gwrthodedig yn gyfoethog ac yn penderfynu dwyn ei gwyn ger bron y Cangellydd. Gwel y sylwnod ar ol yr atebiad i'r gofyniad 109. O.

*Leygwyr*, penderfyniadau y rhai a safant mewn cyfraith, er yn wrthwynebol i eiddo yr Esgob.

G. 113. Pa rai ydyw y *troseddau holiadwy* gan y Llys Ysprydol?

A. Godineb, puteindra, cysegr-fasnach, heresi, ymrwygiad, athrod, anudoniaeth, esgeuluso y sacramentau, a'r cyffelyb.

G. 114. Pa rai ydyw y *cospedigaethau* a roddir ar bersonau a geir yn euog o'r troseddau hyn?

A. Yn benaf, rhai hollol gnawdol yn eu nhatur, ac nad ydyw yr efengyl yn eu hawdurdodi; megys, dirwyau, carcharau, difuddiadau, ac esgymundod. Diau fod yr olaf yn fwy o natur gnawdol nac ysprydol, a'r effeithiau o hono yn echryslawn.

G. 115. Beth ydyw *effeithiau* esgymundod?

A. Trwy yr esgymundod *lleiaf*, annghymwysir dyn i'r sacramentau yn unig; ond trwy y *mwyaf*, mae yn cael ei gau allan rhag dyfod at weddiau yr Eglwys, a'i draddodi i'r diafol. Efe a dorir ymaith hefyd rhag masnachu gyda Christionogion mewn achosion tymorol; a phob un a gyfeillacho ag ef, wedi cael ei rybuddio i'r gwrthwyneb, a esgymunir hefyd. Nis gall roddi cwyn mewn cyfraith, na bod yn dyst mewn un llys, na bod yn gyfreithiwr dros arall. Ac os bydd iddo barâu yn gyndyn ddeugain niwrnod, gwys y Brenin a'i denfyn i garchar, lle y rhaid iddo aros hyd oni wnelo foddlonrwydd i'r Eglwys; ac os bydd farw heb wneuthur hyny, gomeddir iddo gladdedigaeth Gristionogol.

G. 116. At *ba ddynion* y mae gallu y Llys Ysprydol yn cyraedd?

A. Nid yn unig at bawb sydd yn proffesu eu bod yn perthyn i'r Eglwys Sefydledig, (pa un bynag ai eu bod yn derbyn swper yr Arglwydd ai peidio) ond at bob math o ddynion a ymneillduant oddiwrthi, ac weithiau cafodd ei arfer i esgymuno rhai o'r Eglwys na fuont erioed yn perthyn iddi.

G. 117. A ydyw yr Eglwys yn *fynych* yn myned y'mlaen i lymder at ddynion am y troseddau a nodwyd?

A. Yn dra anfynych, oddieithr eu bod yn wŷr o gyfoeth, y rhai a allant atal yr erlyniadau gyda swm o arian. Ac i'r dyben i gael dirwyau helaeth gan y cyfryw, mynych y triniwyd achosion yn dra llygredig yn y llys hwn.

G. 118. Ond gan fod hwn yn llys yr *Esgob* oni all efe *gyfryngu* os dealla fod unrhyw achos yn cael ei drin yn llygredig?

A. Na all; y Cangellydd yw yr uchaf, ac yn anfeistroladwy yn y llys hwn, heb fod yn ddarostyngedig i gael ei atal na'i gyfarwyddo yn ei erlyniadau barnol, eithr yn hollol benderfynu hyd yn oed achosion o esgymundod. (*Towgood, p.* 70.)

G. 119. Pa fath ddysgyblíaeth a gynalia yr Eglwys mewn perthynas i'w *gweinidogion*?

A. Y mae mor rydd fel nad ydyw yn atal derbyniad gweinidogion annghymwys i'r Eglwys, nac yn eu bwrw hwynt allan o honi.

G. 120. Pa gymwysderau a ofynir gan *Lenwyr*, mewn trefn iddynt gael urddiad?

A. Gofynir iddynt gan y Canonau i fyned trwy holiad gan yr Esgob mewn perthynas i'w dysgeidiaeth, a dyfod a chymeradwyaeth iddo oddiwrth dri o Lênwyr yn nghylch eu cymeriad moesol. Ond y mae yn ddigon hysbys nad ydyw yn beth anhawdd i ddynion o gymwysderau tra isel, yn mhob un o'r golygiadau hyn, i gael urddau, ac hefyd fywioliaethau da.[1]

G. 121. Ond a ydyw gweinidogion anwybodus ac anfoesol yn cael eu goddef i *aros* yn yr Eglwys?

A. Er fod y Canonau yn nghylch cymeriad ac ymddygiad y Llênwyr yn dra manwl a da, y mae yn

1 Sylwer. Gwaharddir Esgobion i urddo unrhyw ddyn "oddieithr iddo o'r hyn lleiaf fod yn alluog i roddi cyfrif o'i *ffydd*, yn ol y 39 Erthyglau yn *Lladin*, a chadarnhâu yr unrhyw drwy dystiolaethau o'r Ysgrythyrau sanctaidd." Canon 35. Eithr y mae eu Harglwyddi yn cael weithiau ei bod yn angenrheidiol i esgusodi hyn: mae cyn lleiad o ofal yn cael ei gymeryd yn ein Prif-ysgolion yn addysgiad y Llênwyr, fel y mae llawer yn dyfod i gael urddiad nas gallant fyned trwy y cyfryw brawf. Y mae galargwyn dra adnabyddus Esgob *Burnet* yn dystiolaeth o hyn. "Ein *hwythnosau Cyd-goriau*, (medd efe) ydynt ofid a baich fy mywyd: Y mae y rhan fwyaf o lawer o'r rhai sydd yn dyfod i gael eu hurddo yn anwybodus i radd nas gellir ei amgyffred gan y cyfryw ag nad ydynt yn rhwym o wybod hyny," &c. *Burnet's Past Care*. New preface, p. 5. Gwel hefyd y Gyffesfa, p. 347.

ddigon hysbys mai ychydig iawn a sylwir arnynt: pan y mae y rhai yn nghylch *ffurfiau* a *seremoniau* yn unig, yn cael eu cadw yn fanylaidd. Y canlyniad o hyny sydd yn rhy hysbys.[1]

G. 122. A oddefir rhai Llênwyr i fwynâu eu bywioliaethau er *esgeuluso dyledswyddau cyhoeddus* eu swydd?

A. Gwneir; y mae llawer o honynt yn mwynâu elw mawr, (yn dal llawer o fywioliaethau gwerthfawr, a dyrchafiadau eglwysig eraill) y rhai nad ydynt ond anfynych neu byth yn pregethu,[2] nac yn preswylio o fewn llawer o filltiroedd i'w plwyaf; ond yn cael Curadiaid tylodion, am gyflog bychan iawn, i wneuthur eu gwaith drostynt hwy.

G. 123. Pa beth a dybia aelodau yr Eglwys am ei *dysgyblaeth* hi?

A. Mae y rhai mwyaf synwyrol a diduedd o honynt yn gorfod addef ei bod yn dra llygredig; ac y mae y Ffurfwasanaeth ei hun yn dysgu iddynt unwaith yn y flwyddyn (sef *Dydd Mercher y Lludw*), i ddymuno adferiad dysgybliaeth dduwiol y brif eglwys.

G. 124. Paham gan hyny y mae heb ei *hadferu*?

A. Y ddadl bob amser oedd, na oddefa yr amser-

1 Nid oes i un gwr eglwysig ar unrhyw amser—ymgyrchu i unrhyw dafarnau neu ddiod-dai— nac ymroddi i yfed neu loddesta, neu dreulio eu hamser yn segur ddydd neu nos trwy chwareu disiau, cardiau, neu dawl-fyrddau, neu unrhyw chwareu annghyfreithlon arall, ond, ymegnio yn wastad i lesbau eglwys Duw, gan feddwl yn wastad y dylent ragori ar bawb eraill mewn purdeb bywyd, &c. Canon 65.

D. S. Dylid cydnabod, er hyny, ac fe'i cydnabyddir yma, gyda hyfrydwch, fod llawer o'r Llênwyr yn ddynion o ddysgeidiaeth ragorol, a duwioldeb dilynwiw. Y maent yn addef gwirionedd yr adroddiad gresynus uchod gyda galar.

2 Y mae hyn yn fwy gwirionedd penodol am yr *Esgobion*, y rhai y tybir fod eu gorchwylion eraill, a'u hurddas goruchel yn eu hesgusodi hwynt oddiwrth *bregethu*, oddieithr yn awr a phryd arall ar achosion neillduol. Eithr y mae yr Ysgrythyr yn arddangos pregethu fel y rhan benaf o'r swydd esgobol. Gwel 1 Tim. iii. 2; ac 2 Tim. iv. 2. Yr apostolion a'u rhyddhasant eu hunain oddiwrth bob gofalon bydol, fel y gallant "*barhau mewn gweddi a gweinidogaeth y gair.*" Act vi. 2—4. Wrth gysegru Esgobion, yr Archesgob a rydd iddynt y Bibl, yn eu cynghori i fod yn ddyfal i *ddysgu a phorthi praidd Crist*, yr hyn a addawsai yn ddifrifol ei wneyd. Mae y drwg o osod eraill yn weision dan weinidogion, megys y Curadiaid i'r rhai a ddaliant amryw blwyfau, neu noddwyr a dderbyniant elw oddiwrth rai heb fod ganddynt urddau na chymwysder Llênwyr, yr un yn ei natur, a'r hwn y beiid yr offeiriaid Iuddewig gynt o'i herwydd. Ezec. xliv. 8. "Ni chadwasoch gadwraeth fy mhethau cysegredig; eithr gosodasoch i chwi eich hunain geidwaid ar fy nghadwraeth yn fy nghysegr." Gwel hefyd Esay lvi. 10, 11; a Jer. xxiii. 30.

oedd mo hyny. Ond ymddengys mai y gwir achos yw, fod dysgybliaeth yr Eglwys mor llygredig fel nas gŵyr y rhai a ddymunai wellâd pa le i ddechreu, a'r cyfryw a ddylai wneyd, ydynt yn cael eu cyfoethogi yn ormodol arni yn ei sefyllfa lygredig bresenol i gynyg am dano.

## ADRAN VIII.

### CASGLIADAU ODDIWRTH Y CYFAN.

G. 125. Pa gasgliadau a ellir dynu oddiwrth yr hanes blaenorol am Eglwys Loegr?

A. 1. Fod Eglwys Loegr wedi ei diwygio yn dra anmherffaith oddiwrth *Babyddiaeth*, ac o hyd yn dwyn gormod o debygolrwydd i Eglwys *Rhufain.*[1]

2. Gan hyny, y mae yn gweddu i'r rhai sydd mewn awdurdod yn yr Eglwys ymegnïo i ddwyn yn mlaen y diwygiad; ac ymdrechu i berffeithio yr hyn a ddechreuwyd mor adderchog gan y diwygwyr cyntaf, gyda mwy o anhawsder ac enbydrwydd nag y mae gan eu holynwyr yn y dyddiau hyn un achos i'w hofni; fel y gallo Eglwys Loegr, yn wirioneddol a chyson ei galw ei hun yn Brotestanaidd.

3. Tra y byddo y rhai y mae y gwaith yn gorphwys arnynt yn briodol heb ddefnyddio dim moddion i gael diwygiad pellach, eithr yn y gwrthwyneb, yn penderfynu cadw pethau fel y maent, y mae yn ddyledswydd anhebgorol ar y rhai a anfoddlonir gyda hwynt, ac y mae eu cydwybodau yn anesmwyth gyda chydffurfiaeth, i ymneillduo mewn modd heddychol.

4. Y dylai yr Ymneillduwyr fod yn dra dyolchgar i Dduw am, a bod yn ddyfal i *ddefnyddio* i'r eithaf,

1 Gwelir hyn yn cael ei ddangos mewn dull nodedig yn "*Nadl Delaune dros yr Annghydffurfwyr;*" tu dalenau 34—56.

Nid oedd goganiad Iarll *Chatham*, pan ddygwyd Deiseb y Llênwyr ger bron y Tŷ, yn fwy llym nag oedd yn gyfiawn. "Y mae genym Ffurfwasanaeth *Babaidd*, Erthyglau *Calfinaidd*, a Llênwyr *Arminaidd.*"

y rhyddid a feddianant o ymneillduo oddiwrth yr Eglwys Wladol, yr hon a dybiant hwy sydd mor llygredig, ac addoli Duw mewn lleoedd o'r eiddynt eu hunain, mewn dull cydunol a chyfarwyddiadau eu cydwybodau, ac fel y barnont, yn ol rheolau gair sanctaidd Duw; ar yr un pryd i gydymdeimlo gyda, a gweddio dros y rhai hyny o'u brodyr Protestanaidd pellenig, y rhai a ymddifadir o'r fraint hon.

5. Y dylant fod yn ddyolchgar hefyd i'w llywodraethwyr gwladol, y brenin; (neu frenhines,) a'r rhai sydd mewn awdurdod dan y cyfryw, trwy hynawsedd y rhai y meddianant fanteision, (er nad ydynt amgen na'u hawl naturiol) llawer helaethach nag a feddianodd eu henafiaid mewn teyrnasiadau blaenorol; a thystiolaethu eu dyolchgarwch trwy ddangos eu hunain yn ddeiliaid da, gan ymdrechu i gynyddu llwyddiant eu gwlad, a meithrin ei heddwch, gyda pharch dyladwy i ryddid y cyfansoddiad.

6. Y dylent fod yn ddiysgog yn eu hymlyniad wrth achos Annghydffurfiaeth, yn awyddus i feithrin ei brif egwyddorion, ac yn haelionus a gweithgar i'w gynal a'i gynyddu trwy bob math o foddion ag ydynt gyson a heddwch, rhyddid, a chariad, gan amlygu yn feunyddiol fod eu hawydd yn benaf yn cael ei gyfeirio at achos duwioldeb ymarferol, a llwyddiant teyrnas Crist yn gyffredinol, hyd yn oed yr Eglwys hono oddiwrth yr hon yr ymneillduasant.

7. Y dylent garu dynion da o bob enw, a llawenhau pa le bynag y "pregethir Crist, ac yr addolir Duw yn yr yspryd," er fod y dull yn wahanol i'r eiddynt hwy; gan wneuthur pob goddefiad priodol i ragfarn dygiad i fynu, yr hwn yn fynych a gaiff ormod o ddylanwad ar y dynion goreu. Ond nid ydyw yspryd gwir ëang a rhydd yn gofyn i ddynion roddi i fynu eu hegwyddorion eu hunain, na bod yn ddiofal am eu cynal hwynt; ac ni ddylem ychwaith gydffurfio a defodau anysgrythyrol, nac ymostwng i osodiadau dynol, yn unig o herwydd eu bod yn cael eu cymeradwyo gan lawer ag y credwn eu bod yn

enwog am eu duwioldeb, neu yn dal athrawiaethau sylfaenol yr efengyl.

8. Os ydyw egwyddorion ymneillduaeth oddiwrth yr Eglwys Wladol o unrhyw bwys, (a pha un a ydynt ai peidio, gadawer i'r tu dalenau blaenorol benderfynu) diau fod yr Ymneillduwyr hyny yn gweithredu yn eithaf annghyson ag ydynt yn ddiofal am danynt; llawer o honynt a ymddangosant fel wedi annghofio ddarfod i'w cyndadau, y rhai y proffesant eu parchu, adael yr Eglwys Wladol, nid ar gyfrif *athrawiaethau*, ond y gosodiadau hyny ar gydwybod a darawant yn erbyn penogaeth Iesu Grist, a hyn y mae yr Eglwys hon eto yn parhau i'w arferyd. A diddadl ei bod yn gorphwys ar y cyfryw a argyhoeddwyd o wirionedd yr egwyddorion hyny, ar ba rai y mae eu hymneillduaeth eu hunain yn sylfaenedig, i gymeryd gofal am fod eu plant eu hunain wedi eu hiawn ddysgu yn y wybodaeth o honynt.

bresenol tra byddant byw: ac er coffa am dano dywedwn ninau—

"Am ddiddymu 'r deddfau gormes,
  Seisnied *Sion* gynes gân;
Mwy nid ydynt er halogi
  Swper hael yr Iesu glân;
Nid yw'r wledd ysprydol hono,
  Yn cymwyso i swydd mewn gwlad;
Ond ufudd-dod i osodiad
  Crist o'i ryfedd gariad rhad." O.

——ooo——

## CASGLIAD AMSERYDDOL O FFEITHIAU A DIGWYDDIADAU CYSYLLTEDIG A HANES ANNGHYDFFURFIAETH.

## Y DIWYGIAD.

### HARRI VIII. 1509—1547.

1534—Diddymu Uwchafiaeth y Pab, a sefydlu yr eiddo y Brenin.

### IORWERTH VI. 1547—1553.

1547—Hooper yn gomedd rhoddi y wisg Ganonaidd am dano.

### MARI. 1553—1558.

1556—Llosgi Cranmer yn Rhydychain.

### ELISABETH. 1558—1602.

1562—Cymanfa eglwysig yn adolygu yr Erthyglau.

1572—Yr eglwys Henaduriaethol gyntaf yn Lloegr yn cael ei ffurfio yn Wandsworth.

IAGO I. 1602—1625.

1602—Cynadledd Llys Hampton.
1607—Yr eglwys gyntaf o Fedyddwyr (cyffredinol) yn cael ei ffurfio.
1611—Y cyfieithiad awdurdodedig presenol o'r Bibl yn cael ei ddwyn o'r argraffwasg.
1616—Yr eglwys Gynulleidfäol gyntaf yn cael ei ffurfio.
1618—Y cyhoeddiad a elwir Llyfr y Chwareuau (ar y Sabbath) yn cael ei roddi mewn grym.

SIARLS I. 1625—1649.

1633—Yr eglwys gyntaf o Fedyddwyr (neillduol) yn Llundain.
1643—Cymanfa Westminster (awdwyr y Catechism) yn cael ei galw yn nghyd.

Y WERINIAETH. 1649—1653.

YR AMDDIFFYNIAETH. 1653—1660.

——ooo——

# YR ADFERIAD.

SIARLS II. 1660—1685.

1661—Y Ddeddf Fwrdeisiol.
1662—Deddf yr Unffurfiaeth. Dydd Bartholomeus, Awst 24ain.
1664—Deddf y Cyfarfodydd Annghyfreithlawn.
1665—Deddf Rhydychain, neu Ddeddf y Pum' Milltir. D. S. Diddymwyd y ddwy ddeddf

uchod yn y flwyddyn 1812, gan Ddeddf newydd y Goddefiad.
1673—Y Brawf-ddeddf.
1680—Ysgrif y Gwrthodiad.

IAGO II. 1685—1688.

1687—Cyhoeddiad dros ryddid cydwybod.
1688—Saith o esgobion yn cael eu carcharu yn y tŵr am wrthwynebu mesurau gormesol y Brenin.

——ooo——

## Y CHWYLDROAD.

Y BRENIN WILLIAM A'R FRENINES MARI.
1668—1702.

1668—Y Chwyldröad.
1689—Deddf y Goddefiad.

Y FRENINES ANNE. 1702—1714.

1710—Terfysgoedd yn Llundain, trwy ba rai y dinystrwyd amryw o addoldai yr Ymneillduwyr.
1714—Y Rhwyg-ddeddf yn cael ei diddymu, y Frenines yn marw ar y dydd yr oedd i ddyfod i rym, Awst 1af.

——ooo——

## TEULU BRUNSWICK.

SIOR I. 1714—1727.

1719—Cynadledd Llys yr Halltwyr yn nghylch arwyddo Credöau ac Erthyglau ffydd.

## SIOR II. 1727—1760.

1727—Y tri enwad yn Llundain, sef yr Annybynwyr, Bedyddwyr, a'r Henaduriaethwyr, yn ymffurfio yn gymdeithas.

1729—Dr. Doddridge yn cael ei sefydlu yn Athraw yn Northampton, erlyniad cyfreithiol yn cael ei dechreu yn ei erbyn: y Brenin yn gorchymyn ei hatal.

1732—Cymdeithas o Ddirprwywyr yn cael ei ffurfio gan y tri enwad.

1733—Cymdeithas Gweddwon Gweinidogion, yn cael ei chynal gan y tri enwad.

1735—Wesley a Whitfield yn ymadael o'r Eglwys Sefydledig. Dechreuad Trefnyddiaeth.

Darlith Llys yr Halltwyr yn erbyn Pabyddiaeth, gan weinidogion y tri enwad yn Llundain.

1750—Cymdeithas i helaethu gwybodaeth grefyddol gan yr unrhyw.

1754—Y Briodas-ddeddf, a elwir Deddf i luddias Priodasau dirgel.

## SIOR III. 1760—1820.

1779—Deddf er rhyddâu Ysgolfeistriaid Ymneillduol.

1787, 1789, 1790—Deisebau aflwyddianus am ddiddymiad y Deddfau Bwrdeisiol a Phrawfol.

1791—Dechreu Cymdeithas Genhadol y Bedyddwyr. Dechreu yr eiddo y Wesleyaid.

1795—Sefydlu Cymdeithas Genhadol Llundain.

1800—Ffurfio yr eiddo'r Eglwys Sefydledig.

1804—Y Gymdeithas Fiblaidd Gartrefol a Thramor.

1811—Bwrw allan Ysgrif Arglwydd Sidmouth, Mai 21ain.

1812—Deddf newydd y Goddefiad, a elwir "Deddf er diddymu deddfau neillduol, a diwygio deddfau eraill perthynol i addoliad a chyn-

ulliadau crefyddol, a phersonau fyddo yn dysgu neu bregethu ynddynt."

1813—Deddf i ryddâu y rhai a wrthodant athrawiaeth y Drindod rhag cospau neillduol; yr hon a elwir yn gyffredin, "Deddf Mr. William Smith."

1818—Cymdeithas i gynorthwyo Gweinidogion hen a methiedig Ymneillduwyr Protestanaidd y tri enwad.

## SIOR IV. 1820—1830.

1828—Diddymu y Deddfau Bwrdeisiol a Phrawfol, Mai 9fed

1829—Rhyddfreiniad y Pabyddion, Ebrill 13eg.

## GWILYM IV. 1830—1837.

1830—Cyflwyno Anerchiad i'r Brenin a'r Frenines, gan y tri enwad, Gorphenaf 28ain.

1831—Deddf y Diwygiad Seneddol, gan Arglwydd John Russel.

1834—Rhyddâd y Caethion yn yr holl Daleithiau Prydeinaidd, Awst 1af.

## VICTORIA. 1837. Hir oes a llwyddiant iddi.

1837—Deddf Cofrestriad Gwladol y genedigaethau a'r marwolaethau.

Y Briodas-ddeddf Newydd, er awdurdodi gweinyddiad Priodasau yn Addoldai yr Ymneillduwyr; ac yn swyddfa y Cofrestrydd.

1850—Deddf i adnewyddu Ymddiriedolwyr Addoldai ac Ysgoldai, &c., heb wneyd gweithredoedd newyddion.

Mae'n ofidus gan y Cyhoeddydd nas gall hysbysu fod yr Iuddewon yn eistedd yn y Senedd fel aelodau eto.

## TAFLEN YN CYNWYS Y GEIRIAU MWYAF ANADNABYDDUS, WEDI EU GOSOD YN OL TREFN YR EGWYDDOR.

Alban ............. *Scotland.*
Almaen ............ *Germany.*
Bwrdeis-ddeddf ..... *Corporation Act.*
Chwyldröad ........ *Revolution.*
Cadeirlan .......... *Cathedral.*
Caerwysg ........... *Exeter.*
Deddf y Cyfarfodydd Annghyfreithlawn } *Conventicle Act.*
Deddf y Goddefiad .. *Toleration Act.*
Deddf y Rhwyg .... *Schism-Bill.*
Diemwnt .......... *Diamond.*
Ffurf-wasanaeth .... *Liturgy.*
Glain .............. *Gem.*
Llênwyr ........... *Clergy.*
Lleygwyr .......... *Laymen.*
Llys yr Halltwyr .... *Salter's Hall.*
Llys y Rhingelwyr .. *Freemason's Hall.*
Prawf-Ddeddf ...... *Test Act.*
Tafwys ............ *Thames.*
Teyrnleiddiaid ...... *Regicides.*
Trwydded .......... *Licence.*
Ysgrif y Gwrthodiad .. *Exclusion-Bill.*

O. Y. Hyderir fod y daflen hon yn well na rhoddi y geiriau a dybir eu bod y rhai mwyaf anadnabyddus, a'r rhai Seisnig rhwng cromfachau ar eu cyfer yn y llyfr, gan y bydd yn hawdd i'r darllenydd droi ati (os bydd arno angen,) pan ddelo atynt wrth fyned trosto.

Canfyddir i'r Cyhoeddydd gyfansoddi a chasglu defnyddiau er dwyn hanes Annghydffurfiaeth hyd y flwyddyn hon, (1850,) sef o ofyniad 69 hyd ddiwedd y rhan hanesyddol. Mae sylwnodau newyddion, &c., ar hyd y llyfr, yn cael eu gwahaniaethu a'r llythyren O; a'r awdwyr a ddefnyddir yn cael cyfeirio atynt, oddieithr fod rhai pethau wedi aros yn y meddwl a ddarllenwyd rywbryd, heb gofio yn ngwaith pa awdwr y maent. Os ydyw y pethau yn gywir (megys yr hyderir eu bod), nid yw o gymaint pwys i'r darllenydd o ba le y daethant, ac os nad ydynt felly, nid oes un awdwr, ïe, niferi o'r cyfryw a'u gwna yn wirionedd derbyniol i'r ymofyngar am gywirdeb.

——ooo——

## CYNWYSIAD.



*Bala; argraffwyd dros y Cyhoeddwr, gan G. Jones.*

